Y

# MEDDYG TEULUAIDD:

YN CYNNWYS

FFERYLLIAETH PERTHYNOL I'R CORFF DYNOL.

DYNSODDIAETH, NEU DDEDDFAU CYNNWYNOL BYWYD.

BETH YW AFIECHYD YN EI NATUR, &c.

ARWYDDION CLEFYDAU AC ANHWYLDERAU, EU HACHOSION, A'R FFORDD IDD EU LLEDDFU A'U TRIN YN LLWYDDIANNUS.

**Gan H. Ll. WILLIAMS, M. D.**

Trwyddedog o Goleg Meddygol Syracuse, a Chymdeithas Feddygol Swydd Oneida; Cofnodydd i'r Gymdeithas Feddygol Talaeth Caerefrog Newydd, &c.



UTICA:

ARGRAFFWYD GAN E. E. ROBERTS, 2 HEOL SENECA.

1851.

## CYFARCHIAD.

Oddiar yr ystyriaeth fod miloedd o Gymry yn yr Unol Daleithau, a nifer o honynt heb fod yn hyddysg yn y Saesoneg, ac felly yn ymboeni o dan anfanteision, meithrinwyd ynwyf duedd cryf i gyfansoddi y Meddyg Teuluaidd; a thrwy fod nifer lluosog o fy nghydnabod a'm cyfeillion yn annogaethol, anturiais ar y gorchwyl. Mae y Saeson wedi eu breinio â nifer o Lyfrau Meddygol tra buddiol. Mae ganddynt waith yr enwog Ddr. Beach, &c., a Dr. Combe ar Ddynsoddiaeth. Dysgir Dynsoddiaeth iddynt hefyd yn yr ysgolion, tra mae y Cymro uniaith yn hollol amddifad o'r fath freintiau.

Mae yn anhebgorol angenrheidiol i bob dyn ddeall ychydig am ei gyfansoddiad, natur cyfferi, a'u heffaith dan wahanol amgylchiadau ar y corff. Mae yr anwybodus yn agored yn barhaus i gael ei dwyllo. Mae anian rhagfasnachol mor gyffredinol, fel nad yw hyd yn nod meddyginiaeth, lle mae bywyd ac iechyd yn ymddibynol, yn esgusodol. Mae rhif aneirif o gyfareddau gwag-ymffrostgar ar hyd a lled ein gwlad, a rhoddir crediniaeth mwyaf hygoelus iddynt; a phob un yn gwellhau pob afiechyd, medd eu dyfeiswyr. Gweled

rhai yn nghrafangau afiechyd, natur yn dadfeilio o dan swyn hygoeledd y cyfferi dieffeith, twyllodrus, ac annghyfaddas, nes o'r diwedd, bydd eu bywyd yn aberth i rhagfasnachydd cyffyr holliachaol cyfrwys. Nid oes un person ag sydd feddianol ar deimlad naturiol, all beidio teimlo yr arteithiau mwyaf dirdynol, yn rhwygo ei deimladau, wrth ganfod y fath amryfusedd a thrueni a achosir trwy anwybodaeth. Hyderwyf y bydd y "MEDDYG TEULUAIDD" yn arwain i hunan-ymchwiliad cyffredinol, a bydd pob Cymro, cyn penderfynu, yn olrhain ac yn treiddio i mewn i ansawdd pethau, yn lle cymeryd yn ganiataol mae felly mae y feddyginiaeth yma a'r cyfferi arall. Mae mawr angen dysgu edrych mwy i mewn i Ddynsoddiaeth, Natur ac achos Afiechyd, Cyfferi, &c. Hyderwyf y bydd ymddangosiad y llyfryn hwn yn tueddu i arwain eu meddyliau at hyny. A gobeithiwyf y daw rhyw un mwy galluog ac a'u harwain i mewn i eithafoedd y tir ansathredig yma yn yr Omeraeg.

Cymerodd i mi lawer blwyddyn i gasglu ac ysgrifenu y "MEDDYG TEULUAIDD." Yr oeddwn yn anfoddlon i gyhoeddi dim ar na chefais brawf o hono neu a gymeradwyd gan y meddygon enwocaf. Cyhoeddwyd yn Nghymru, yn yr iaith Gymraeg, rai llyfrau Meddygol, ond yn y wlad hon, wrth ystyried y gwahaniaeth mewn clefydau a gwahanol natur y llysieu a'u rhinwedd meddygol, nis gallant fod ond o ychydig ddefnyddioldeb yn yr hinsawdd yma. Gellir ymddibynu ar y "MEDDYG TEULUAIDD," fod y cyfarwyddiadau yn hynod o briodol, diberygl, ac effeithiol at wellhau afiechyd. Hefyd,

mae yr egwyddor gyffredinol yn sylfaenedig ar y sylfaen gadarnaf, sef natur; y driniaeth yn unol a natur, ac yn sicr o gyrhaeddyd yr effeith dymunedig sef iachad. Ond mae yn rhaid peidio esgeuluso y peth mwyaf dibwys o ran golwg i adferyd iechyd, sef gweithredu yn rheolaidd, cadw at y nod, lleddfu poen, llinaru anhwyldeb blinderog, &c.

Nid ydwyf yn meddwl y bydd i'r llyfr hwn hebgor gwasanaeth meddyg yn hollol; mae afiechyd mor ddyrus weithiau fel mae yn gofyn profiad ac ymarferiad i olrhain ei sefyllfa. Ond gellir rhagflaenu a byrhau llawer afiechyd wrth fyned yn ol rheol y "MEDDYG TEULUAIDD."

Gan obeithio y bydd cyhoeddiad y llyfr yn ateb dyben, a'm rhagfwriad dymuniadol, sef llesoli dynoliaeth, yr anturir ef o flaen, ac i hynawsedd a gwasanaeth fy nghydgenedl, y Cymry.

H. Ll. WILLIAMS.

*Utica, Mai* 30, 1851.

# ARWEINDRAETH.

---

Mae llawer o bersonau synwyrol a dyngarol yn teimlo yn awyddus hynod i leddfu poen eu cydgreaduriaid, pe byddent yn gwybod pa fodd. Ond i'r cyfryw gael gwybod, gall eu gwasanaeth fod yn un o'r pethau gwerthfawrocaf mewn ardal. Nid yn unig byddant fel offerynau i esmwythau eu cyd-ddynion, ond yn lluddias yr anwybodus a'r hunanol i ymyraeth a gwneuthur niwaid, heb unwaith ystyried y pwysfawrogrwydd perthynol i bob creadur mewn cystudd.

Mae pob dyn claf yn deml natur; mae yn ofynol dynesu ati gydag ofn parchus a theimlad defosionol, yn rhydd oddiwrth orwagedd, hunan-ganmoliaeth, a gwall-egwyddor; yna gwna natur sylwi arnoch a dadguddio ei chyfrinach. Bydded i'r cyfryw ag sydd yn gweinyddu i'r claf, ystyried pwy ydynt, a pha beth yw eu swydd. Mae y rhai sydd o ddyben cywir, yn ngwasanaeth Duw, fel yn offeiriaid y wreichionen fywiol, ac yn weinyddion a dosbarthwyr y rhoddion penaf, sef bywyd ac iechyd. Hefyd y galluoedd cyfrinachol ydynt wedi ei gyfleu trwy holl anian er mwyn llesoli dynoliaeth. Mae yn orchwyl cyssegredig a goruchel. Cyflawner yn ddihalog, nid er mwyn hunan elw, na hunan fri ychwaith, ond er gogoniant eich Creawdydd, ac er mwyn gwaredigaeth eich cyd-ddynion. Mae hyny yn ad-daliad digonol gan bob person dyngarol.

Neillduoler yn ofalus yr anhwyldeb a'r goddefydd; ac yn y gorchwyl o iachau mae yn ofynol golygu y ddau. Mae yr un afiechyd ar un dyn, yn aml, yn gofyn trefn iachaol hollol wahanol ag a fyddai yn briodol i un arall. Mae egwyddor y gelfyddyd feddygol yn gynnwysedig mewn cyffredinoleiddio yr anhwyldeb, a neillduoli y goddefydd gymaint a fydd bosibl.

Os na ellir cynnorthwyo na wneler niwed.

Gofaler rhag bod y moddion a ddefnyddir yn fwy dinystriol na yr afiechyd.

Mae moddion amheus yn well na dim.

Os bydd y goddefydd mewn perygl mawr, ac yn ymddibynol—rhaid anturio y cwbl, hyd yn nod y cymeriad.

Na feddyliwch yn gyffredinol am danoch eich hunain, ond yn unig am y claf.

Na fydder yn hwyrfrydig yn gwneuthur yr hyn sydd angenrheidiol. Nid yw y mynyd ffafriol byth yn dychwelyd.

Na wneler dim heb reswm digonol; mae yn well gadael i natur weithredu na gwneuthur yr hyn sydd gamweddus.

Bydded i'r cyfferi fod yn y dull mwyaf syml ac unigol ag sydd bosibl.

Po hynaf a mwyaf profiadol fyddo y meddyg, lleiaf o gyfferi a fydd yn ddefnyddio, a mwyaf syml fydd ei gyfarwyddiadau.

Na fydded i feddyg byth gael ei ddiystyru am nad yw yn gweinyddu ond ychydig o gyfferi.

## CYNNWYSEB WYDDOROL.



### FERYLLIAETH.



### DYNSODDIAETH.

## NATUR AC ACHOS AFIECHYD.



## AFIECHYD A'I DRINIAETH.

## DARPARIADAU MEDDYGOL.

Y

# MEDDYG TEULUAIDD.

---

## FFERYLLIAETH.

Fferylliaeth yw y gelfyddyd sydd yn amlygu i ni y rhanau elfenol sydd yn cyfansoddi defnyddiau, ac hefyd y dull y mae y rhanau hyny yn gweithredu y naill ar y llall. Ac felly, tueddnod Fferylliaeth ydyw cael allan ranau elfenol defnyddiau, neu sylweddau, ac anian gyfansoddol y rhanau hyny, y deddfau sydd yn eu huno ac yn eu gwahanu, ac hefyd y canlyniad o'r undeb a'r gwahaniad.

Athronyddiaeth anianyddol sydd yn amlygu maintioli, pwys, caledwch, neu feddalwch, corff neu sylwedd,—megys torth o fara, er esiampl; pan y mae Fferylliaeth yn dangos allan y defnyddiau sydd ynddi, megys peilliaid, dwfr, a burym, ag ydynt yn cyfansoddi y dorth.

Athronyddiaeth anianyddol a ddengys fod i gorff, neu sylwedd, yn nghyd âg amrywiol gynneddfau ereill, estyniad; yr hyn sydd yn arwyddo hŷd, llêd, a thewder. Annhreiddiad, yn arwyddo nas gall dau o ronynau fod yn yr un man, neu gyfwng, ar unwaith. Hyranedd yn arwyddo y gall pob darn o sylwedd, neu gorff, gael ei wahanu yn amryw o ddarnau llai. Fferylliaeth a ddengys pa beth sydd yn cyfansoddi, neu yn ffurfio pob sylwedd, a'r dull y mae y rhanau elfenol ag ydynt yn ei gyfansoddi wedi eu rhoddi yn nghyd.

2

Sylwedd, neu gorff, sydd yn arwyddocau pob math o sylwedd, megys caled-gorff, hylif-gorff, a chorff awyraidd; pob peth a welir, a archwaethir, a deimlir, neu a aroglir. Càreg sydd galed-gorff; ond yr awyr, a'r *gases*, ydynt gyrff awyraidd. Pob math o sylweddau a defnyddiau ydynt un ai sengl neu gymysg, ynte elfenau cyfansawdd. Nis gellir gwahanu sylwedd, neu elfen sengl, yn ddim llai; neu, mewn geiriau ereill, nis gellir rhanu elfen, neu sylwedd sengl, yn ddwy neu dair rhan. Mae pumdeg-tri o sylweddau sengl, (neu ychydig yn ychwaneg fe allai, o herwydd mae Fferylliaeth ar gynnydd, a darganfodau yn cymeryd lle bob blwyddyn,) ac nid oes ond trideg-saith o honynt yn cael eu harferyd yn y celfyddydau.

Sylwedd cyfansawdd sydd yn cael ei wneuthur i fynu o ddau neu fwy o'r elfenau, neu y sylweddau sengl. Dwfr sydd sylwedd cyfansawdd, wedi ei gyfansoddi o ddau sylwedd sengl, sef surbair *(oxygen)* a dyfrbair *(hydrogen.)* Agos i bob peth a welwn sydd wedi ei gyfansoddi o wahanol sylweddau. Gellir gwahanu corff cyfansawdd. Yr awyr sydd gorff cyfansawdd; a gellir gwahanu yr awyr yn surbair a blawrbair *(nitrogen,)* y ddau sylwedd sengl a gyfansoddant yr awyr; ac eto, cymerer y surbair o'r awyr, a'r dyfrbair o'r dwfr, bydd dwfr wedi ei ffurfio, a chorff cyfansawdd wedi ei wneyd allan o'r ddau sylwedd sengl. Mae yr undebau yn cael eu heffeithio gan, neu trwy, ddeddf-dyniad; neu fel ei gelwir mewn perthynas â Fferylliaeth,—cyfathrach fferyllaidd *(chemical affinity.)* Os rhoddir olew a dwfr mewn llestr gwydr, cyfoda yr olew i'r gwyneb; ond rhodder ychydig o *pearlash* ynddo, a'r olew, y dwfr, a'r *pearlash*, a unant, a chanlyniad yr undeb fydd sebon. Yr achos yw, fod cyfathrach fferyllaidd yn bodoli yn y *pearlash* tuag at y dwfr a'r olew, ac felly yn dyfod yn rhwymyn undeb rhyngddynt.

Rhoddir yn ganlynol ychydig ddesgrifiad o'r elfenau sengl, yn cynnwys eu natur a'u defnyddioldeb.

## GWRES. *(CALORIC.)*

Yr elfen hon sydd gynnwysedig o fath o *gas* tenau a threiddiol; nis gellir ei weled, ac adnabyddir ef yn unig trwy syniad y teimlad. Mae yn bodoli yn mhob sylwedd; mewn rhew, cerig, coed, meteloedd, dwfr, ac awyr. Mae hylif yn cynnwys mwy o *galoric* na chaled-gorff, a'r sylweddau awyraidd yn cynnwys mwy na y sylweddau hylifaidd. Pa fwyaf o *galoric* fyddo mewn sylwedd, meddalaf a fydd. Cyd-dyniad cydlynol sydd yn gwneuthr caled-gorff; ond y mae *caloric* yn allu gwrthwynebol i gydlyniad, a chan hyny yn gwneuthur hylifoedd. Pob sylwedd caled ar y ddaear a ellid ei wneuthur yn hylif, ond tywallt iddo ddigon o *galoric.* Os gosodir darn o iâ ar haiarn poeth, mae y *caloric* yn fuan yn ei droi yn ddwfr, wedi hyny yn ager. Mae *caloric* yn cael ei drosglwyddo o'r naill sylwedd i'r llall. Os rhoddwn ein llaw ar sylwedd poeth, mae y *caloric* yn myned o hono i'r llaw, ac yn achosi teimlad twymn. Os cyffyrddwn â sylwedd oerach na ein llaw, mae y *caloric* yn myned o ein llaw i'r sylwedd hwnw. Mae yn natur *caloric* i fod i'r un graddau yn mhob sylwedd, ac felly yn myned o wrthddrych i wrthddrych pan y byddont yn dyfod yn nghyd. Darn o haiarn, llawn o *galoric,* o'i ddodi mewn dwfr oer, a wna y dwfr yn fuan yr un dymheredd ag ef ei hun. Mae *caloric* hefyd yn êangu sylweddau. Pan yn myned i sylweddau mae yn symud y gronynau yn mhellach oddiwrth eu gilydd, ac felly mae yn helaethu maintioli sylweddau cyfunedd. Yn hyn y mae *caloric* yn gweithredu yn erbyn ymlyniad. Os mesurir haiarn yn oer, ac yna ei boethi, a'i fesur drachefn, cawn ei fod wedi helaethu yn ei hŷd

a'i lêd. Felly mae dringlyn awrlais yn hŵy ar dywydd poeth nag yw ar dywydd oer, ac yn myned yn arafach yn gyfatebol i'w hŷd. Ac felly, pan fyddo *caloric* wedi llenwi rhyw sylwedd, megys berwedydd ager-beiriant, os na fydd agorfa iddo fyned ymaith, rhwygiad fydd y canlyniad. Llawer o *galoric* mewn haiarn a wahana y gronynau, ac a'i gỳr i redeg fel dwfr. Pan fyddo sylwedd yn parhau i roddi ymaith fwy o *galoric* nag y mae yn ei dderbyn, mae yn dyfod yn oerach nag yw y gwrthddrychau o amgylch iddo. Mae y ddaear yn rhoddi *caloric;* ond yn nghyfnod y dydd mae yr haul yn rhoddi i'r ddaear; yn y nos mae y ddaear yn rhoddi *caloric* heb dderbyn dim, a thrwy hyny mae yn lleihau yn y nos ac yn mwyhau yn y dydd, am fod *caloric* yn beth mor deneu a threiddiol, fel y mae yn lledanu y gronynau. Yn hyn gwelir yr achos o'r peth y clywais hen fŵn-gloddwyr yn crybwyll am dano: sef, Fod eu cynnal-byst *(props,)* yn dyfod yn rhyddion yn y nos. Trwy fod y ddaear yn rhoddi ymaith y *caloric*, mae y gronynau yn tynhau at eu gilydd; ac yn y dydd, mae y *caloric* yn eu gwthio oddiwrth eu gilydd; a thrwy hyny mae y ddaear yn eangu. Yn y nos, mae y ddaear yn oerach na'r awyrgylch, ac am hyny yn tynu y *caloric* sydd yn yr awyrgylch, a thrwy hyny, mae gronynau yr hylif yn myned yn nghyd, ac yn ffurfio dwfr, yna y disgyn ar y ddaear—a hyn ydyw gwlith. Nid oes dim gwlith pan fyddo y nos yn gymylog, o herwyd mae y cymylau yn gwrthdaro y *caloric* yn ol i'r ddaear, ac am hyny nid yw y ddaear yn oeri.

Gan fod *caloric* yn teneuhau pob peth, yn neillduol awyr, gwelir pa mor niweidiol i fywyd a iechyd, ydyw ystafelloedd poethion, pan fyddo, fe allai, yr awyr wedi lledaenu gymaint, fel na byddo yn bedwaredd ran digon at wasanaeth y cyfansoddiad dynol.

## SURBAIR. *(OXYGEN.)*

Surbair ydyw un o'r sylweddau sengl, ac yn ffurfio rhan yn agos o bób defnydd. Mae yn un o brif elfenau yr awyrgylch yr ydym yn ei anadlu. Yr awyr sydd agos oll yn gyfansoddedig o surbair a dyfrbair; y mae surbair yn cyfansoddi agos un pedwaran o'r awyr. Mae yn elfen ag sydd yn nghfansoddiad pob anifail a llysieuyn, a llawer o'r meteloedd. Gellir gwahanu y surbair trwy wahanol foddion. Y dull arferol ei gwahanir yw, poethi plwm coch *(red lead,) manganese* a *saltpetre*. Wrth gymhwyso poethder at y sylweddau hyn, mae yn dadrwymo y surbair, ac y mae yn dyfod ymaith yn wahanedig, fel y gellir ei ddal mewn llestr pwrpasol. Nid oes iddo na lliw, blas, nac arogl. Y mae tyniad cryf ynddo at y rhan fwyaf o sylweddau sengl; ac nid oes yr un o honynt nas gellir gwneyd iddo uno âg ef. Pan fyddo defnyddiau wedi uno gydag ef, dywedir eu bod yn surbairedig *(oxydized.)* Rhwd haiarn a achosir trwy fod y surbair o'r awyr yn effeithio ar yr haiarn, neu yn uno gyda yr haiarn. Aur ac arian nid ydynt yn rhydu, hyny yw, nid ydyw y surbair yn uno gyda hwynt. Y mae yn hysbys fod haiarn yn rhydu, hyny yw, yn surbaireiddio yn fuan, os bydd yn cael ei adael yn agored i'r awyr, neu wlybaniaeth. Mae surbair yn llosgadwy hynod; hyd yn nod haiarn a dur, ag ydynt yn cael eu rhestru yn mhlith defnyddiau anhylosgawl, a losgant fel carth yn hwn. Yn awr, pe byddai yr awyrgylch yn gyfansoddedig oll o surbair, llosgai pob peth i fynu: pan y rhoddid tân mewn *stove*, llosgai hono; y gôf, wrth boethi, a churo haiarn poeth, a welai ei forthwyl yn fflamio. Dim ond helaethu y surbair, llosgai y byd a chymaint ag sydd ynddo; ond pe tynid yr holl surbair o'r byd ni losgai dim. Ond y mae y Creawdwr doeth

wedi rhoddi digon o surbair oddiamgylch, fel y gwna glô, coed, olew, &c.,l osgi. Nid yw llosgiad *(combustion,)* na mwy na llai nag undeb cyflym y surbair gyda sylweddau hylosgawl. Felly y mae chwythu y tân yn anfon y surbair o'r awyr iddo. Os llosgir sylweddau gyda gofal, ceir nad yw y pethau a losgwyd yn ddim ysgafnach; ond byddant yn pwyso mwy o gymaint ag a fyddo o surbair wedi uno â hwynt. Felly, nis gellir difodi defnydd, ond yn unig newid ei ddull a'r golygiad. Surbair, gan hyny, sydd angenrheidiol, nid yn unig i hylosgedd, ond hefyd i anadliad, neu fywyd anifeilaidd. Nis gall dyn nac anifail fyw mewn awyr sydd heb fod yn cynnwys surbair. Y dyben o anadlu yw pnro y gwaed, a chynnyrchu gwres i'r corff; a'r surbair yn yr awyr sydd yn cyflawni y gwasanaeth hyny; ac felly, y mae anadlu yn difa y surbair. Mae awyr mewn ystafelloedd yn llawn o bobl yn myned yn niweidiol, yn anaddas, ac yn analluog i gynnal bywyd. Nid ydyw canwyllau yn y fath ystafelloedd yn cyneu yn fywiog, am fod y surbair yn eisieu. Y surbair sydd yn troi pob peth yn sur. Surbair mewn undeb âg osai *(cider,)* sydd yn gwneuthur gwinegr; ac i wneuthur gwinegr da, mae yn ofynol gadael mynedfa i'r surbair fyned o'r awyr ato. Yr effeith hyn o eiddo y surbair a elwir yn surbaireiddiad.

## BLAWRBAIR. *(NITROGEN.)*

Blawrbair sydd un o gyfansoddorion yr awyrgylch; surbair a blawrbair ydynt y ddwy elfen sydd yn ei gyfansoddi. Nid oes i blawrbair na lliw, blas, nac arogl, ac ni chynnal hylosgedd na bywyd anifeilaidd. Mae yn diffoddi pob sylwedd llosgedig a drochir ynddo; ac nis gall un anifail fyw ynddo. Gellir gwahanu, neu ddidoli blawrbair, trwy dynu y surbair o swm o awyr, ac felly

gadael y blawrbair yn unig; yr hyn a ellir ei wneuthur trwy losgi darn o *phosphorus* mewn llestr a'i waelod i fynu, a cheg agored yn gorwedd ar ddwfr, yn sefyll o fodfedd i ddwy yn y dwfr; llysg y *phosphorus* hyd oni byddo y surbair yn y llestr wedi ei ddifodi; yna, gwna y dwfr sugno y *carbonic acid*, a grëir wrth losgi y *phosphorus*, a gadael y blawrbair yn unig yn y llestr.

Y mae blawrbair yn llawer ysgafnach na surbair, ac, o ganlyniad, yn ysgafnach na'r awyr. Mewn ystafell lawn o bobl, lle mae y surbair wedi ei ddefnyddio trwy anadliad, mae y blawrbair yn dyrchafu at nen yr ystafell; am hyny, dylid gochelyd y parth uchaf o ystafell dyrfaog. Mewn ystafelloedd tyrfaog, y mae *gas* niweidiol arall, ag sydd yn disgyn i lawr, ac yn ddystrywiol i fywyd. Mae blawrbair i'w gael yn yr oll o'r anifeiliaid; ond mewn ychydig o lysiau.

## AWYRGYLCH. *(ATMOSPHERE.)*

Yr awyr ydyw yr hylif ag sydd yn ein hamgylchynu yn mhob lle yr ydym yn byw; ac nis gallem fodoli hebddo. Mae yn cyraedd pedwardeg-pump milltir uwchlaw y ddaear, ac y mae deddf cyd-dyniad yn ei gadw wrth arwyneb y ddaear, yr un modd ag y mae pob gwrthddrych yn cael ei gadw. Y mae hefyd yn cylchdroi oddiamgylch yr haul gyda'r ddaear. Nid yw y gwynt na mwy na llai na'r awyr mewn cynhyrfiad, neu symudiad. Mae yr awyrgylch heb liw, yn anweledig, yn ddiflas, ac yn ddiarogl; ac oni bydd mewn symudiad, nis adnabyddir trwy syniad y teimlad. Mae yn wyth gant trideg-un o weithiau yn ysgafnach na dwfr; hyny yw, y mae chwart o ddwfr yn wyth gant trideg-un o weithiau yn drymach na chwart o awyr.

Priodoleddau yr awyr ydynt hylifedd, ymledanedd, adlamedd, ac ymgyrchiant pwysol. Mae hylifedd yr

awyr yn tarddu o ddiffyg cyd-dyniad ymlynol; nid yw hyn yn cael ond ychydig effaith, os dim, ar y gronynau awyraiddd.

Profir ei adlamedd trwy y gellir gwasgu cant dauddeg-wyth o gostreleidiau i un gostrel, ac mor fuan ag y tynir y gwasgiad ymaith, adlama i'w faintioli cyntefig.

Mae yr awyr hefyd yn ymledaenu. Gwna poethder ëangu yr awyr; o herwydd, pledren ag awyr ynddi, wrth ei dàl at wres, a ymledaena ac a chwydda. Yr achos o hyn yw, chwyddiad yr awyr o fewn.

Sylwedd ysgafn ydyw awyr. Gwelir hyn yn amlwg wrth gydmaru pwysau dwfr âg awyr. Y mae doethineb mawr i'w ganfod yn nhrefniad ysgafn yr awyr, o herwydd, pe buasai awyr mor bwysol a dwfr, nis gallasem fyned trwyddo gyda y fath rwyddineb.

Surbair yr awyr, fel y nodwyd yn flaenorol, sydd yn cynnal bywyd anifeilaidd, ac yn gwneuthur i'r holl dânau losgi. Hefyd, hylifoedd yr awyr sydd yn cludo ymaith y tarth, sydd yn codi o'r moroedd a'r llynoedd, dros wyneb yr holl ddaear, i ddyfrhau y grawn, y coed, y gwellt a'r planhigion. Pe buasai gronynau yr awyr heb fod yn symud y naill dros y llall, mor rhwydd, ni fuasai yr awyr yn gludydd mawr y cymylau, ag ydynt yn diwallu y gyfundrefn lysieuaidd â dwfr. Pwysau yr awyr sydd yn effeithio ar y dwfr, fel y gellir ei godi gyda sugnedydd. Mae yr awyr yn pwyso ar y dwfr yn y ffynnon, a phan fyddo yr ysten yn y sugnedydd yn codi, mae y gwaelod yn cael ei adael yn wag o awyr, ac y mae yr awyr yn gwasgu ar wyneb y dwfr yn y ffynnon, ac yna yn gwthio y dwfr i'r lle gwag.

Gwasgiad yr awyrgylch sydd yn attal y dwfr sydd ar wyneb y ddaear, darthu gormod. Pe buasai y gwasgiad ychydig yn llai, ni fuasai dim dwfr yn cael ei adael ar y ddaear; o herwydd ychydig raddau o boethder, a anfonai yr hylifoedd oll i'r awyrgylch.

Holl bwysau yr awyrgylch, yn ol athronyddion, sydd gyfatebol i belen o blwm chwedeg milltir drwyddi, yn ddwy fil, dau gant, a chwedeg pwys ar bob troedfedd petryal. Mae yr awyr yn pwyso bob ffordd, sef i fynu, i lawr, a phob ochr; dyma yr achos nad ydym yn cael ein niweidio gan fawr bwysi yr awyrgylch. Wrth estyn allan ein llaw, ni theimlir pwysi arni, am fod yr awyr yn gwasgu odditanodd ac oddiarnodd yn gyfatebol.

## CREISIN. *(CARBON.)—a Carbonic Acid.*

Y mae creisin yn wasgaredig trwy holl anian; ceir ef yr un modd yn y gyfundraeth anifeilaidd a'r lysieuaidd. Golosg-goed sydd agos yn greisin pur; ac felly cotwm a diamwnt. Mae *carbonic acid gas*, (a elwir weithiau, *awyr sefydlog*,) yn effeithio yn wahanol i'r blawrbair a'r dyfrbair ar yr ysgyfaint. Ni chynnaliant hwy y bywyd anifeilaidd, ond y mae *carbonic acid gas* yn dinystrio bywyd. Yn y ddwy elfen grybwylledig, bydd anifeiliaid farw o eisieu surbair; ond y mae *carbonic acid* yn lladd yn ddisymwth. O achos natur wenwynol y *gas* yma, y mae golosg-goed, wrth ei losgi, yn profi mor niweidiol mewn ystafelloedd cauedig; am ei fod yn rhoddi ymaith greisin, pa un, wrth ymuno â'r surbair yn yr awyr, sydd yn ffurfio *carbonic acid gas.* Nid yw hwn yn cynnal llosgiad, ac nis gall anifail fyw mewn lle a fydd yn cynnwys cymaint ag a ddiffodd ganwyll; am hyny, gwelir y doethineb o ddanfon canwyll i ffynnonydd, &c., cyn anturio yno. Os bydd y ganwyll yn diffodd, y mae perygl; ac yn gyffredin, nid oes dim perygl os na bydd yn diffodd. Mae y *carbonic acid* yn disgyn i'r fath leoedd, am ei fod yn drymach na'r awyr.

Gelwir ef *carbonic acid*, am y rhodda archwaeth sur ar wlybyroedd, pa un, er nad yw lym, sydd adfywiol.

Suredd boddiol osai, &c., sydd effaith y *gas* yma; wrth golli hyn, neu ddynoethiad i'r awyr, mae eu blâs yn henaidd, fel y dywedir. Hyn sydd yn achosi hoywedd a berwedd mewn dwfr *soda*, a bywiogrwydd yn nyfroedd Saratoga. Priodoledd neillduol burym sydd ddyledus i'r *gas* yma; wrth ymdrechu diangc trwy y toes, mae y *carbonic acid* yn cael ei faglu, ac yn ffurfio y ceudyllau a welir mewn bara ysgafn. Mae *saleratus* yn gwneuthur i fara godi, o herwydd ei fod yn cynnwys *carbonic acid*.

Gwelwn fod effaith y *gas* yma ar fywyd anifeilaidd yn farwol. Gwelwn hefyd, ei fod yn cael ei gynyrchu yn helaeth trwy, neu gan, anadliad anifeilaidd. Hefyd gan ddadgyfansoddiad, neu bydredd, anifeilaidd a llysieuaidd; ac wrth losgi canwyllau a thânau. Yn ol pob ymddangosiad, cynnyddai *carbonic acid* i'r fath raddau, fel y dinystriai fywyd anifeilaidd yn llwyr, pe na byddai y Creawdwr wedi gwneyd y planhigion o'r fath anian, fel y maent yn sugno y *gas* yma; ac y maent yn cael eu meithrin gan yr hyn a ddinystriai fywyd anifeilaidd. Eto, cynnydd a bywyd anifeilaidd yw y surbair, ac y mae y planhigion yn bwrw ymaith yr elfen yma yn helaeth. Rhyfeddwn wrth ganfod y doethineb sydd yn y cysylltiadau perthynasol i'r ddwy gyfundraeth!

## GOLEUNI A THRYDANIAETH.

Y mae effaith a gweithrediad goleuni ar lysiau yn amlwg a phwysfawr; yr un modd ar anifeiliaid. Planhigion a feithrinir mewn lleoedd tywyll, ydynt agos yn ddiliw, diarogl, diarchwaeth, a gweiniaid o gyfansoddiad. Nid yw planhigion yn rhoddi allan surbair, ond pan fyddo pelydrau yr haul yn tywynu arnynt. Ond pa un ai bod yr hylif dysglaer, a elwir goleuni, yn treiddio i'r planhigion ai peidio, y mae yn sicr ei fod

yn cael dylanwad ar eu cyfansoddiad. Ac y mae yn wybodol hefyd, na wna blodau ond anfynych gynyrchu ffrwyth yn nghysgod haul.

Pan fyddo trydaniaeth yn helaeth iawn, yn yr awyrgylch, y mae yn dylanwadu yn fawr ar dyfiant llysiau, &c. Mae yn cymhell gweithrediad y surbair, ac yn penderfynu tewychedd yr hylifoedd dyfrawg. Egina ŷd yn gynt mewn dwfr wedi ei lenwi â thrydaniaeth. Ac y mae yn ffaith, y gwna eplesiad gymeryd lle yn gynt ar amser taranau; o herwydd, yr amser hyny, y mae yr awyr yn llawn o drydaniaeth.

Y mae gwlybwr yn cynnwys amrywiol o sylweddau, a'r undeb rhyngddynt heb fod yn gadarn, neu yn agos, megys llaeth; yr hwn sydd yn dadgyfansoddi, ac yn suro, o dan effaith drydanawl uchel yr awyr. Y mae merched ag ydynt yn trin llaeth, yn gwybod gystal ag un athronydd, fod llaeth yn suro yn fuan ar amser mellt a tharanau. Swm mawr o drydaniaeth sydd yn cynyrchu yr effeithiau hyny.

## DYFRBAIR. *(HYDROGEN.)*

Dyfrbair sydd elfen, neu *gas*, ac yn un o'r elfenau sengl; ac nid oes iddi na lliw, archwaeth, nac arogl. Dyfrbair a surbair, wedi eu huno, a ffurfiant ddwfr. Y mae yn un o'r elfenau ysgafnaf ag sydd yn bodoli. Fe ei ceir mewn llysiau, anifeiliaid, ac hyd yn nod mewn creigiau. Pan ddidolir y surbair o ddwfr, ceir y dyfrbair yn wahanedig. Ac am hyny, gellir cynnyrchu dyfrbair yn y modd canlynol:—rhodder ychydig ddarnau o haiarn mewn llestr, a thywallter ychydig *sulphuric acid*, a phedair gwaith cymaint o ddwfr, yna cyfyd y dyfrbair mewn ffurf o *gas*, pryd y gellir ei ddal mewn llestr, pwrpasol at hyny. Yr achos fod y dyfrbair yn cyfodi yw hyn,—mae y *sulphuric acid* yn cynnorthwyo

y surbair yn y dwfr, yn ei awydd mawr i ymuno â'r haiarn, yr hyn y mae yn ei wneuthur yn fuan, ac yn gadael y dyfrbair i gyfodi, o herwydd y mae yn eithaf ysgafn. Nid yw dyfrbair yn cynnal bywyd anifeilaidd, o herwydd byddai anifail farw yn fuan wrth gael ei gyfyngu ynddo. Nid yw ychwaith yn meddu priodoledd ddinystriol; mae marwolaeth yn cael ei achosi, yn unig o eisieu y surbair. Nid yw dyfrbair ychwaith yn cynnal hylosgedd. Os rhoddir canwyll ynddo, diffodda yn y fan; eto, llysg dyfrbair yn angerddol pan ei rhoddir yn y tân. Fflam canwyll, coed, a glô, ydynt ddyfrbair, ac ychydig o greisin; olew, gwêr, coed, a glô sydd yn darparu, neu yn cynnyrchu y dyfrbair a'r creisin. Undeb y surbair o'r awyr, gyda y dyfrbair a'r creisin mewn canwyllau, coed, a glô, sydd gydfynedol gyda gwres, goleuni, ac sydd hefyd yn cyfansoddi yr hyn a fyddwn yn ei alw tân. Os rhoddir dyfrbair a surbair yn nghyd, ac wedi hyny, rhoddi atynt dân, gwna dwrf fel ergyd o ddryll, ac yn y cynhyrfiad, bydd dwfr yn cael ei ffurfio. Mae yn beth rhyfedd meddwl fod dwfr yn cael ei ffurfio wrth losgi sylweddau. I gynnyrchu yr effaith yma, rhaid fod y cymysgedd yn ddwy ran o ddyfrbair, ac un o surbair. Y *gas* sydd yn cael ei losgi mewn dinasoedd, i oleuo yr heolydd, &c., ac a arferir yn bresenol yn lle canwyllau, a lampau, sydd y rhan fwyaf, yn *gas* dyfrbair.—Mae yn cael ei wneuthur o lô. Y mae glô, pan ei dynoethir i wres, mewn llestr clôs, yn cael ei ddadgyfansoddi, a dyfrbair, yr hon sydd yn elfen nodedig mewn glô, yn cyfodi yn *gas*, ac yn meddu ychydig o greisin, a thrwy hyny yn cyfansoddi y cymysgedd a elwir *hydro-carbonate;* hwn yw y *gas* a ddefnyddir i oleuo trefydd, &c. Mae y *gas* yn dryloyw ac anweledig, ac yn llosgi yn hylaw a chyflym. Mae hyn yn ddyfais ddiweddar, ac yn rhatach o lawer na gwêr, nac olew. Mewn gweithfeydd glô, mae y *gas*

*hydro-carbonate* yn swm mawr weithiau. Y mae yn cael ei ffurfio, un ai gan lô yn llosgi yn mhell o dan y ddaear, neu, wedi cael ei wneuthur gan hylosgedd blaenorol ac yn cael ei gadw mewn ogofeydd a thyllau, hyd yr amser presenol: mae gwahanol farnau mewn perthynas iddo. Pan agorir ato, mae y surbair o'r awyr, yn uno yn nghyd â'r *hydro-carbonate gas;* a thrwy ei fod yn gynnwysedig, gan mwyaf, o ddyfrbair, yna, fel y crybwyllwyd o'r blaen, pan fyddo surbair a dyfrbair yn ymuno yn nghyd, y mae tanfa, gyda thwrf egniol yn cymeryd lle. Os bydd i'r gweithwyr gymeryd tân gyda hwynt i'r gwaith, lle byddo *gas*, byddant yn agored o gael eu chwythu i fynu bob mynyd.

## DWFR.

Dwfr, fel y crybwyllwyd o'r blaen, sydd gorff cyfansawdd, cynnwysedig o ddyfrbair a surbair. Mae dwfr yn cynnwys awyr, yr hyn sydd mor angenrheidiol er cynnal bywyd yn y pysgodyn yn y dwfr, ag yw i gynnal bywyd yr anifail ar y tir. Y mae mân ronynau yr awyr, yn y dwfr, yn myned trwy dagellau y posgod, (eu hysgyfaint,) ac yn puro eu gwaed. Os cymerir yr awyr ymaith o gostrelaid o ddwfr, ac yna rhoddi pysgodyn ynddo, bydd farw yn y fan. Po buraf fyddo yr awyr yn y dwfr, iachaf fydd y dwfr; am hyny ni ddylid cadw ffynnonau yn orchuddiedig, fel y mae llawer yn gwneuthur. Y mae dwfr yn eangu yn fawr pan yn cyfnewid yn ager; mae ager un dyferyn yn cymeryd cymaint o le ag wyth gant o ddyferion. Y mae dwfr hefyd, pan yn disgyn, yn sugno llawer o'r anmhuredd ag sydd yn nofio yn yr awyr; ac felly, mae yn pereiddio yr elfen werthfawr hóno, yr ydym yn eu hanadlu. Mae yn ddywediad cyffredin, ar ol cawod o wlaw, 'O, mor hyfryd yw ar ol y gawod!'

Y mae dwfr hallt hefyd yn drymach na dwfr croyw. Llong, wedi ei llwytho fel y sudda mewn dwfr croyw, a nofiai mewn dwfr hallt. Mae y gwaed yn cynnwys wythdeg y cant o ddwfr. Y mae dwfr pur yn un o'r elfenau gwerthfawrocaf, ac yn ddigonol i ddiwallu holl ofynion natur, fel diod, pan fyddo y corff mewn cyflwr iachusol. Y mae trwytho y dwfr gydag unrhyw beth, ïe, â'r llysieuyn mwyaf rhinweddol, a gwneuthur hîr arferiad o hyny, yn effeithio yn niweidiol. Pa faint mwy, ynte, tê, coffi, &c., heb sôn am wirodydd?

# DYNSODDIAETH.

## DEDDFAU CYNNWYNAWL BYWYD.

Y gangen bwysfawr yma yn y gelfyddyd feddygol, yw sylfaen gweinyddiad Meddyginiaeth; fel y mae Difyniaeth (*anàtomy*) i Lawfeddygaeth, (*surgery*.)

Y mae athronyddiaeth afiechyd a meddyginiaeth yn gwahanu, ynddi ei hun, yn ddwy ran gyffredinol; sef, dynsoddiaeth a difyniaeth. Y gyntaf, gweithrediadau corff y dyn byw; a'r ail, adail y corff marw.

Er fod difyniaeth wedi cyflwyno llawer o gynhaliaeth gyfochrog i ddynsoddiaeth, eto, mae egwyddor yr olaf wedi ei sefydlu, yn ei swyddogaeth naturiol ei hun; pa un sydd, a phob amser raid fod, yn fyfyrdod y corff byw. Adchwilad celfyddydawl, cyn belled ag y perthyna i ddyn, nid yw o wasanaeth neillduol i physygwr, yn mhellach nag a ellir ei ddysgu trwy sylwad cyffredinol.

Wedi dysgu natur yr elfenau perthynol i unrhyw wyddoriaeth, y gwrthddrych mwyaf yn ganlynol i hyny, yw dysgu yr egwyddorion cyffredinol.

Yr egwyddor fwyaf amlwg, a hynod mewn dynsoddiaeth, yw undeb, neu unoliaeth, y gwahanol ranau yn nghyfansoddiad y corff.

Mae yn angenrheidiol i hyn fod wedi ei argraffu ar feddwl yr astudiwr meddygol, cyn y byddo yn addas i fyned yn mlaen yn ei fyfyrdod, ac hefyd, cyn y byddo yn alluog i weinyddu meddyginiaeth.

Dosraniad fferyllaidd a ddengys, fod y corff byw yn gyfansoddedig o ddau ddosbarth o elfenau, y rhai ydynt

ddefnyddiau. Yr elfenau cyntaf ydynt y rhai sengl; megys creisin, dyfrbair, surbair, blawrbair, &c. Yr ail ydynt gyfansawdd, megys *albumen*, (sylwedd o'r un natur a gwyn ŵy) *fibrin*, *gelatin*, *&c.*, priodol i fodau cyfluniedig, neu beiriannol. Y mae *phosphorus*, *brwmstan*, *clorine*, *florine*, *calch*, *potash*, *soda*, *silex*, *alum*, a haiarn, yn bodoli yn helaeth yn y corff dynol.

Perthynas y corff dynol âg elfenau sengl y byd allanol, ac â'r elfenau sydd yn perthyn i'w gyfansoddiad a'i weithrediadau tufewnol, sydd wrthddrychau teilwng o ddwys ystyriaeth pob dyn.

Yr elfenau sengl sydd yn cyfansoddi yr elfenau cyfansawdd, ac am hyny, y rhan helaethaf o'r corff. Ac hefyd, cawn hwynt fel prif elfenau bywiog o amgylch i ni, yn llawn mewn dwfr, awyr, a phlanhigion. Ond y mae yr elfenau cyfansawdd i'w cael mewn defnyddiau: brwmstan a geir bob amser, yn fesur bychan, mewn *albumen*. Mae hefyd yn bodoli, o fesur bychan, mewn ffynnonau, ac yn y rhan fwyaf o'r planhigion. Haiarn yw cynnwysydd defnydd lliwiog y gwaed; yn ganlynol cawn ei fod yn bodoli mewn planhigion, ac yn cyfansoddi, un mewn can' parth, bridd y ddaear. Trwy drefn ddoeth y Creawdwr, gwelwn fod y meteloedd, ag ydynt angenrheidiol a chydrywiol i ein cyfansoddiad, yn bodoli mewn dwfr, awyr, a llysiau, a thrwy hyny, yn ein hymborth. Y mae *soda* yn bodoli yn helaethach yn y corff, na *photash*, a chawn trwy brofiad, ei fod yn fwy cydweddol âg ef. Suredd heliaidd (*muriatic acid*) yw y tyneraf o'r dosbarth hyny ar y cyfansoddiad, prin yn effeithio dim ar y defnyddiau, oddigerth ychydig ar yr esgyrn; ac, yn y modd doethaf, cawn fod y suredd hwn, mewn undeb â'r halen tyner hwnw, *soda*, yn cyfansoddi yr cyffaith anhebgorol hyny—yr halen cyffredin.

Yr un berthynas sydd yn bodoli rhwng ein cyrff, ein

hymborth, a'r elfenau ereill a nodwyd; yna gwelir nad yw yr holl elfenau sengl sydd yn cyfansoddi y corff, yn wenwyn. Dim ond cymhwyso rhai o'r elfenau gwenwynol, ag y mae cyfathrach cryf ynddynt at elfenau y corff, bydd yr holl gyfundraeth yn myned yn ddarnau. Ond llinell fawr y gwahaniaeth, rhwng planhigion ac anifeiliaid, yw fod y blaenaf yn ymgynnal yn uniongyrchol ar elfenau sengl, a'r olaf yn unig ar elfenau cyfansawdd. Ymddengys fod hyn yn mynegi i ni, i ymatal gwneuthur defnydd o honynt, yn eu sefyllfa annghyflunedig. Gellir canfod y gwahaniaeth yma mewn calch newydd losgi, a phan fyddo wedi ei gydlunio mewn plisgyn ŵy, planhigion, &c. Ar y llaw arall, canfyddwn fod yr holl elfenau nad ydynt yn cyfansoddi rhan o ein cyrff, megys *arsenic*, *antimony*, *mercury*, copr, plwm, &c., yn wenwyn difaol; ac y maent hefyd, trwy ddarbodaeth ddoeth y Creawdwr, yn llai gwasgaredig yn nghynyrchion anian. Trwy sylwi yn ofalus ar ddeddfau bywyd, ac hefyd ein perthynas âg amgylchiadau anianol a moesol, y gallwn gael ein cadw rhag myned i derfyn ein hoes yn anmhrydlawn, neu gael estyn ein hoes i'r amser gosodedig.

Ond pa fodd y mae ein perthynas âg elfenau y byd allanol wedi cael eu hystyried? Pa fodd y darfu i physygwyr eu golygu, pan yn eu harfer fel moddion meddygol? Bydded i'r cloff o'i febyd, bydded i'r dannedd llygredig, a'r llygaid pwlion, a bydded i'r adyn sydd yn cael ei boenydio gan y dduegwst (*hypochondria*,) a'r hunan-leiddiad, ïe, heb son dim am angeu yn uniongyrchol, ateb dros druenusrwydd bywyd troseddedig. Dylai pawb ddeall, ac ystyried, eu perthynas a'r defnyddiau metelaidd a mŵnaidd, ac a throseddiad o hyny sydd yn eu gosod mewn perygl o golli eu dedwyddwch bywydawl, a'u heinioes hefyd.

Y mae *verdigris* yn wenwyn; ac mewn llestri efydd

a phrês, wrth ferwi ffrwythydd surion, gellir gweled cylch glâs y tu uchaf i'r gwlybwr: gwelir y gwlybwr hefyd yn codi ac yn gostwng, ac yn gadael y fan yn lân a dysglaer, wedi golchi y *verdigris* i'r cyffeith-fwyd; gan hyny, nis gall y fath beth fod yn iachus ymborth. Hefyd, padellau llaeth wedi eu barneisio â phlwm, trwy ba fodd y cafodd teuluoedd cyfain eu gwenwyno. Y mae hefyd, lawer o bethau wedi ei *platio* âg arian byw (*mercury*,) megys cadwyn wrth siswrn rhyw foneddiges, fe allai; hwnw yn gwisgo yn rhydd ar hyd ei bysedd, ac yn ffurfio *black oxid of mercury*, am ba un y gall llawer ddywedyd rhyw hanes anffodus. Sylwer pa fodd y mae iechyd a bywyd paentwyr, a chelfyddwyr sydd yn agored i feteloedd dyeithr; a gwelir yn y gôf, pa fodd y mae haiarn yn eithriad.

Hanodd *clefyd y plwm* yn Lowel, oddiwrth y dwfr ag oedd yn rhedeg trwy bibellau plwm o'r ffynnonydd; y parlys a'r coluddwst, yn New Brunswick, a achoswyd trwy fod llwyth o siwgr wedi ei halogi â phlwm. Y dyn hwnw hefyd, y bu agos iddo a chael ei ladd, trwy yfed llaeth enwyn o ystwc newydd ei baentio; a'r teulu hyny y gwenwynwyd rhai o honynt, o achos bwyta *pie plant* a ferwyd mewn llestr efydd.

Pan ystyriom, nid rhyfedd nad yw iechyd ac einioes pobl wareiddiedig, yn gyfatebol i'r hyn ag ydyw gyda phobl anwaraidd; y cyfryw nid ydynt yn defnyddio dim llestri ond y gareg gafnog, nac yn dwyn un arf ond o goed a cherig.

Gellir ystyried yr amser hwnw yn amser euraidd, pan ddelo pobl i dalu yr ystyriaeth ddyledus i'r deddfau perthynol i feteloedd.

Sylwyd yn barod am y prif elfenau cyfluniol; ac ni roddir dim dysgrifiad, yn bresenol, o'u perthynas brydferth, mewn cysylltiad â'r briodoledd fywydawl, hyd nes rhoddir dysgrifiad helaethach o'r gwahanol ranau

yn y corff. Yn ol dosraniad difyniaethol, y peth cyntaf ag sydd yn gofyn sylw yn y corff dynol, yw y DEFNYDDIAU.

## Y DEFNYDD CELLAWG. *(CELLULAR TISSUE.)*

Y defnydd hwn sydd yn uno y gwahanol beiriannau yn nghyd, ac y mae, mewn dull mwy crynhoawl, neu dewychawl, yn cyfansoddi memrynau, neu y pilionenau oll. Y mae hefyd yn ffurfio y madruddynau esgyrnog. Oddimewn i gyfyngau hwn mae y mân-wreiddach esgyrnaid wedi eu tywallt, neu eu gwthio. Y mae pob un o'r cyhyrau yn orchuddiedig, neu yn amgylchedig, gyda gwain o'r defnydd yma. Mae yn suddo i sylwedd y cyhyrau, yn amgylchynu pob sypyn, a phob mân edefyn, a thrwy uno yn fwy digymysg yn y pen eithaf gyda y sylwedd ei hun, y mae yn ffurfio y gewynau. (*tendons.*) Mae yr un cymhwysiad yn y defnydd hwn yn y gïau (*nerves.*) Mae yr edefynau gïeuog, yr un modd a'r esgyrnog, yn ymdywallt i gelloedd, neu gyfyngau cyferbyniol, yn y defnydd, ac felly yn ei lenwi, a thrwy hyny gwneuthur o'r defnydd yma un cyfangorff ardderchog. A phe byddai y defnyddiau ereill yn cael eu tynu ymaith, byddai y defnydd cellawg yn cadw cyflawn ffurfiad y corff.

Prif ansawdd fferyllaidd y defnydd cellawg yw *gelatin*, a'r unig briodoledd ddynsoddawl, sydd iddo, yw ymgrynhoad. Cafwyd ei fod yn gyfansoddedig o fân-edafedd, pa rai, wedi hyny sydd yn adranu yn edafedd meinion; a'r rhai hyny, yn ol y chwydd-wydr, ydynt yn gyfansoddedig o edafedd crynion, bychain. Y fath gyfansawdd mwyaf mân sydd yn gwneuthur, neu yn ffurfio yr edafedd esgyrnaidd, cyhyraidd a gïeuaidd. Oddiwrth hyn, mae y darllenydd yn cael ei arwain i'r

fan lle y gall weled undeb ac unoldeb yr holl gyfangorff.

Y gair DEFNYDD, yn gyffredin, a arferir i ddynodi y sylwedd, neu y defnydd sydd yn gwneuthur, neu yn cyfansoddi yr holl beiriant bywiol; weithiau, ond un rywogaith, megys yr esgyrn. Os ystyriwn y defnydd cellawg fel hanfod, neu gyfansawdd cyflawn, a'r dosbarthiadau o'i rywogaeth ei hun, cynnwysedig o'r memrynau, gewynau, a madruddynau, ceir rhestr o ddefnyddiau ereill, fel yn ganlynol:—

Yn gyntaf, Y defnydd esgyrnog; yn meddu, fel ansawdd fferyllaidd, *phosphate of lime*, a chaledrwydd yn briodoledd ddynsoddol.

Yn ail, Y defnydd cyhyrog; yn meddu *fibrin*, fel ansawdd fferyllaidd, a chyffroad fel priodoledd ddynsoddol.

Yn drydydd, Y defnydd gïeuawg; yn meddu ansawdd fferyllaidd o *albumen*, a theimladrwydd fel priodoledd ddynsoddol. At ba rai, os ychwanegwn y tôadau allanol, megys y croen, yr ewinedd, a'r gwallt, ac sydd iddynt lysnafedd (*mucus*) fel ansawdd fferyllaidd, ac fel priodoledd ddynsoddol, annheimladrwydd sydd yn cyfansoddi holl sylwedd y cyfangorff.

Gellir rhanu y cyfangorff yn ddwy gyfran; sef caledgorff, megys yr esgyrn, yr ewinedd, &c., a hylif-gorff, megys y gwaed, pa un sydd yn trosglwyddo maeth i'r caledgorff, a'r *neuaura*, pa un sydd yn trosglwyddo y bywiol allu, annogaeth, ewyllysiad, &c., trwy gyfrwng y gïau, i wahanol barthau y peiriant bywiol.

Gellir rhanu y caled-gorff yn saith dosbarth; a phob dosbarth yn gynnwysedig o ddwy gyfran odidog, fel y canlyn:—

Y dosbarth esgyrnaidd; yn cynnwys esgyrn caledion a madruddynau, neu esgyrn meddalion.

Y dosbarth cyhyraidd; yn cynnwys cyhyrau ysgogiad, neu symudiad gwirfoddol ac anwirfoddol; neu y

cyhyrau sydd yn symud ein haelodau wrth ein hewyllys, a'r cyfryw sydd yn perthyn i beiriannau bywyd, megys y galon, yr ysgyfaint, &c.

Y dosbarth cylchredol; cynnwysedig o redweliau a gwythenau.

Y dosbarth ysgyfeinaidd; cynnwysedig o gelloedd awyr yn yr ysgyfaint, a'r mân-wythenau brigeraidd (*capillaris.*)

Y dosbarth treulbair (*digestive;*) cynnwysedig o drefniant, neu gynghawsedd fferyllaidd, a cheulbair.

Y dosbarth sugnyddaidd; cynnwysedig o laetholion, a dyfrlynolion.

Y mae hefyd dri dosbarth o ymgartholion; sef yr arenau, yr afu, a'r croen, heblaw y cylchwyrnau ereill.

Am y dosbarth cenedlol, ystyriwyf yn ddyledus er mwyn diweirdeb, atal heb rhoddi dysgrifiad dynsoddol o hono; ond ystyriwyf fod yn ddyledswydd arnaf lefaru mewn perthynas i'w deddfau dynsoddawl, a'u troseddiadau, mewn lle arall.

Yn ganlynol rhoddir dysgrifiad o swyddogaeth, neu waith pob un o'r gwahanol ddosbarthiadau, neu y cyfundraethau blaenorol.

## Y GYFUNDRAETH ESGYRNAIDD.

Am y gyfundraeth esgyrnaidd, nid yw o angenrheidrwydd neillduol rhoddi dysgrifiad manwl. Ond y mae rhai o'r argoelion dynsoddawl yn teilyngu ein hystyriaeth.

Nid yw gïau y dosbarth yma, pan fyddont mewn cyflwr iachusol, yn deimladwy; ond pan fyddo asgwrn wedi tòri, ac yn dechreu aduno, y mae teimladrwydd y pryd hyn yn eithaf llym, fel yr amlygir trwy fawrhad y boen, fod eisieu cadw y parth yn llonydd; yr hyn sydd angenrheidiol i'r dyben o rwystro dadosodiad yr

asgwrn. Wrth hyn, canfyddwn fod poen weithiau yn dilyn ymdrech natur i wellhau, a thrwy hyny dylai gael ei ystyried fel cyfaill, â'i holl egni yn gwneuthur daioni i ni; ac am hyny, dylem gynnorthwyo natur hyd eithaf ein gallu.

Os porthir anifeiliaid â *madder*, am ychydig amser, tröir eu hesgyrn yn gochion; a phan ei hatelir, y sylwedd lliwiol a ddiflana. Felly gwelir fod cyfnewidiad parhaus yn cymeryd lle; adeiladaeth a difodaeth sydd yn bodoli, yn un o'r defnyddiau mwyaf annghyfnewidiol. Tybiwyf y bydd meddwl y darllenydd wedi ei barotoi, fel y canfyddo y briodoledd hyny yn y defnyddiau ereill.

Y mae asgwrn iachus yn gyfansoddedig o ddau fath o ddefnydd gwahanol; sef cyfran o galch, neu ddaear, a chyfran o'r un defnydd ac sydd yn cyfansoddi cnawd anifeilaidd. Rhodder asgwrn mewn *muriatic acid*, tỳn hyn y calch, neu y ddaear, a bydd yr asgwrn mor ystwyth fel ag y gellir ei gylymu. Rhodder yr asgwrn yn y tân, llysg y gyfran anifeilaidd ymaith, a bydd yr asgwrn mor frau fel y gellir ei falu â'r ewinedd; ac eto bydd yr asgwrn, wedi yr holl driniaeth, yn cadw ei faintiolaeth ymddangosiadol. Mae yr esgyrn pan fyddont mewn cyflwr iachusol, yn cynnwys cyfran ddigonol o bob un o'r defnyddiau hyn; ond mewn rhai personau, mae cyfran ormodol o ddaear, a thrwy hyny, mae yr ergyrn yn fwy tueddol i dòri. Y mae gormodedd o'r defnydd anifeilaidd, yn tueddu yr esgyrn i fod yn ystwyth, plygu, a chamu, a thrwy hyny, yn cynnyrchu cyrff ac aelodau ceimion.

Y mae esgyrn babanod, gan mwyaf, yn gyfansoddedig o fadruddynau, neu esgyrn meddalion. Yn y cyflwr yma o'r corff, y mae yn dueddol o fyned yn anffurfiol, a'r cyfansoddiad i gael ei niweidio, hyd derfyn oes. Ni ddylai mamaeth rwymo baban, fel pe byddai

yn cenglu cyfrwy ar geffyl; o herwydd mae yr esgyrn yn feddalion, ac yn hawdd eu hanffurfio, cyn y caledont.

Y mae penau yr asenau yn aros yn feddalion, yn wastadol; am ba achos y mae merched ieuaingc yn gallu, trwy wasgrwymau, ddwyn eu hunain i'r fath lun annymunol a gwarthus. Mae cymalau asgwrn y cefn, neu yr yspîn, yn cael eu gwahanu gan fadruddynau, neu esgyrn meddalion; ac y mae ystum ymgrymedig, neu wendid yn y cyhyrau sydd yn cynnal asgwrn y cefn, wedi ei achosi trwy wasgrwymo yn dŷn. Mae y madruddynau sydd yn asgwrn y cefn, yn dueddol o fyned ar lun cynion, a gwneuthur yr yspîn yn gam ac anffurfiol.

Cafwyd, trwy brawf, fod llaeth cyntaf y fam yn cynnwys cyfran helaeth o *phosphate of lime;* a chan fod llechau (*rickets*) yn afiechyd, neu ddiffyg esgyrnaidd, byddai llaeth newydd buwch, neu famaeth arall, yn feddyginiaeth effeithiol, a'r fwyaf naturiol.

## Y GYFUNDRAETH GYHYROG.

Y gyfundraeth hon a gynnwysa y rhanau cnawdol y corff, megys croth y goes, y fraich, y cluniau, &c.; ac, oddigerth ymgrynhoad y defnydd cellawg, y cyhyrau sydd yn gwasanaethu, neu fel offerynau yn cynnyrchu yr holl symudiadau yn y corff. Y cyhyrau gwirfoddol, gan mwyaf, sydd oddiamgylch yr aelodau, a phan fyddant mewn cyflwr iachusol maent yn ddarostyngedig i'r ewyllys. Mae cyhyrau peiriannol y bywyd, y rhan fwyaf, o'r tufewn; yn bodoli yn y galon, y ddwyfron, y cylla, a phen uchaf y coluddion; ac nid ydynt yn ddarostyngedig i'r ewyllys.

Y mae pob cyhyr yn gyfansoddedig o sypyn niferog o linynau meinion, wedi eu cylymu yn nghyd gan am-

wisg, a elwir gwain. Mae y mân-linynau yn gorwedd yn gyfochrog y naill i'r llall; a chwtogiad y gwahanol linynau—y cwbl yn gweithredu yr un amser, sydd yn rhoddi y nerth mawr mewn cyhyr. Mae y cyhyrau yn hynod o wahanedig y naill oddiwrth y llall—pob un yn amgauedig yn ei wain ei hun, a gellir yn rhwydd eu gwahanu oddiwrth eu gilydd, fel ag y gellir dywedyd fod cyfwng rhyngddynt.

Nid oes dim ond y croen yn gorchuddio y cyhyrau, y maent y defnyddiau nesaf ato; ac yn amgylchynu yr esgyrn, yn enwedig esgyrn yr aelodau, pa rai sydd wedi eu gorchuddio yn gyflawn ganddynt.

Y mae yn y corff bedwar cant trideg-chwech o gyhyrau; oll yn wahanedig y naill oddiwrth y llall. Mae pob un o'r rhai hyn yn alluog i gynnyrchu, o'r hyn lleiaf, un symudiad; a chyd-undeb o ychydig neu lawer o honynt, a all, ac sydd, yn gwneyd yr annherfynol ystumiau a'r symudiadau y mae y corff yn myned trwyddynt.

Oddiwrth weithrediadau a gosodiadau cywrain y cyhyrau, mai y corff yn derbyn yr ystwythder rhyfeddol sydd yn perthyn iddo. Pan fyddo cyhyrau unrhyw barth o'r corff wedi eu hanafu, mae y parth hwnw yn sicr o fod yn ddiffygiol yn ei symudiadau. Ac y mae ymegniad gormodol y cyhyrau yn eu gwanhau, ond ymegniad cymedrol yn eu cryfhau, yn well na dim moddion ereill.

## Y GYFUNDRAETH GIEUAIDD. *(NERVOUS SYSTEM.)*

Canolbarth mawr bywyd anianol sydd yn bodoli yn yr ymenydd. Y mae yn gyfrwng syniad, amgyffrediad, a theimlad. Y mae hefyd yn eisteddfod a grym y meddwl, a'r ffynnonell sydd yn cynnyrchu symudiadau

gwirfoddol. Mae llawer o'r giau perthynol i'r bywyd anianol, hefyd, yn cyfodi oddiwrth y sylwedd gieuog yn asgwrn y cefn, pa un sydd yn gysylltiedig â'r ymenydd, ac a elwir yr *ymenydd yspînawg*.

Giau perthynol i beiriannau y bywyd (*organic life*,) ydynt i'w canfod yn un sypyn, yn yr un man, neu yn gyrff bychain, crynion, o liw llwydwyn, o'r un natur a'r ymenydd, a elwir *ganglion*, pa rai sydd yn rhês ar bob tu i'r yspîn, ac yn cael eu cysylltu gan fân-edafedd gieuog. Mae gan y giau hyn, fel canolbarth, ddau sypyn, neu *ganglion* mawr, a elwir *solar plexus* mawr, am eu bod yn arledaenu eu dylanwad, fel y mae yr haul ei oleuni. Mae y canolbarth mawr yma yn eisteddfod teimlad anianol tu hwnt i ddysgrifiad; a chyfeiriwyd ato yn aml fel am y galon. Y giau peiriannol yma sydd yn rheoli yr oll o'r gweithrediadau a'r symudiadau anwirfoddol, megys yr anadliad, treulbairiad, a thyfiant y corff; ac y maent yn rhwymo yr holl wahanol beiriannau a'r gweithrediadau anianol yn nghyd, megys mewn un achrwm o gydymdeimlad; o herwydd hyn, gelwir hwynt giau y cyd-deimlad. Mae y giau yma yn gysylltiedig â'r giau sydd yn tarddu yn fwyaf uniongyrchol o'r ymenydd; yn enwedig y cyfryw ac sydd yn bodoli, neu gyfodi yn mhen uchaf sylwedd gieuog yr yspîn; pa un y profwyd ei fod yn ganolbarth cywybodoldeb anianol, neu ffynnonell darddiadol natur anifeilaidd dyn.

Y mae yr holl adeilad anianol, neu y corff dynol, yn ddyledus i'r briodoledd anchwiliadwy hóno, sef bywyd. Y mae bodoliaeth, yn nghyda pharhad mewn bodoliaeth, yn ymddibynu ar y briodoledd hóno; o herwydd heb fywyd, y berthynas fferyllaidd, neu ddadgyfansoddiad naturiol, o'r hyn beth y mae bywyd yn allu gwrthwynebol, a gymerai effeithiolaeth, a chyflawn ddinystr fyddai y canlyniad. Y briodoledd fywiol yma sydd yn

rhoddi i'r gyfundraeth dreulbair y gallu i droi yr ymborth yn *chyme*, a'r *chyme* yn gaul (*chyle*,) a hyn yn waed;—i'r galon hefyd, a'r llestri gwaed, y gallu o gylchredeg yr hylif bywiol yma;—i'r ysgyfaint y gallu o'i bureiddio;—i'r gwaed ei hun y gallu o gyfranu maeth i'r corff;—i'r esgyrn y gallu o dyfu;—i'r cyhyrau y grym cwtogol;—i'r cymalau eu gwrthneidiolrwydd a'u llithrigrwydd;—i'r llygaid y gallu o weled,—y clustiau i glywed,—y tafod i archwaethu,—y croen ei deimlad,—ac i'r holl gorff y gallu i adnewyddu oddiwrth niweidiau ac afiechyd.

Wrth fyfyrio dynsoddiaeth, neu natur y gyfundraeth anianol, canfyddwn ein hunain yn cael ein denu gan ardderchogrwydd priodoledd, pa un a ddengys fod iddi gysylltiad agos â'r hanfodaeth fywiol; ac ar yr un pryd yn annibynol; ac eto, yn parhaus gynal cymdeithasfa ddirgelaidd gyda yr hanfodol briodoledd yma, a elwir y meddwl, neu fel y mae rhai yn dewis ei alw, yr enaid. Ni ddadguddiwyd erioed i ddyn y sylwedd, ychwaith natur y berthynas sy rhwng y meddwl a'r corff; a hwy fyddant, yn ol pob tebygolrwydd, yn guddiedig oddiwrth ddealldwriaeth dyn. Yn awr y mae gofyniad yn cyfodi yn naturiol:—Gan fod y briodoledd fywiol yn teyrnasu mor ardderchog a chyson, Pa le y mae yr eisteddfod a'r tarddiad o hono? a ydyw yn y corff? Y mae yn ddiamheuol mai y gyfundraeth gieuaidd yw y gyfran hóno o'r adail corfforol, lle y mae ffynnonell y briodoledd neillduol yma; ac hefyd, yr hyn trwy ba un y mae yn rheoleiddio ac yn cynnyrchu yr effeithiau perthynol i'w swyddogaeth. Y giau sydd yn trosglwyddo pob argraff ddirnadwy, ac amgyffrediad, i'r ymenydd; pa un yw canolbwynt teimladrwydd ac amgyffrediad.

Y mae i bob gieuyn ei swyddogaeth neillduol ei hun. Os bydd gieuyn i amlygu poen yn y llaw, ac os briwir

y gieuyn hwnw, mewn unrhyw fan o'r llaw i'w darddiad cyntaf, y llaw a deimlir yn briwio. Ac felly y mae yn dygwydd mewn llawer math o afiechyd; nid yw y boen yn ddirnadwy yn y parth effeithiedig, ond bydd i'w deimlo yn mhen y gieuyn, a chryn bellder, weithiau, oddiwrth eisteddfod y boen. Ac am hyny, dylid edrych yn fanwl am eisteddfod y boen. Felly y mae gydag afiechyd sydd yn dygwydd yn aml yn mhen y glun, yn mha le ni theimlir ond ychydig, neu ddim poen; ond golygir y boen weithiau yn mhen y lîn, pa le a all fod yn hollol iach, a'r achos o'r dolur, yn aml yn bodoli yn y cefn. Mae afiechyd arall ag sydd yn dwyn sylw rhai meddygon yn ddiweddar, yr hwn a elwir *spinal iritation*, ag sydd yn cyfodi oddiwrth yr yspîn, yr hwn sydd yn gynnwysedig o ryw beth yn debyg i ennyniad yn y sylwedd a'r tarddiad gieuaidd, neu fêr asgwrn y cefn. Mae y giau effeithedig, neu afiachus yma, yn achosi poen yn y parthau, neu eu swyddogaeth briodol eu hunain.—Weithiau yr ysgyfaint, yr afu, y cylla, y ddwyfron, neu y fan lle mae eu penau teimladol. Y mae dyn wedi tóri ymaith goes, yn teimlo bodiau ei draed am gwrs o amser, fel pe byddent heb eu tóri ymaith, o herwydd y mae y giau yn trosglwyddo, neu yn cyflawni eu priodol alwedigaeth, yn ffynnonell amgyffrediad, sef yr ymenydd yspînawg. Mae y dosbarth hyny, sef y giau cyd-deimladol, megys yr ysgyfaint yn cydymdeimlo gyda'r cylla, —y cylla gyda'r pen,—y pen gyda'r cylla, &c.; a chan hyny, mae yn ofynol edrych yn fanol a threiddgar, pa le y mae achos yr afiechyd; symud hyny, ac nid dinystrio corff a bywyd y goddefydd, wrth ymladd gyda yr effaith yn lle yr achos—fel dynion deillion.

## Y GYFUNDRAETH LESTRIOG.

Y llestri hyn ydynt offerynau y cylchrediad; y cyfryw ag sydd yn trosglwyddo y gwaed trwy y cyfangorff. Maent yn gynnwysedig o redweliau, pa rai sydd yn trosglwyddo y gwaed o'r galon; a'r gwythenau, pa rai sydd yn danfon y gwaed yn ol i'r galon. Canolbwynt a phrif allu cynhyrfiol cylchrediad y gwaed yw y galon. Hon sydd beiriant cyhyrog cryf, ac wedi ei gwahanu yn bedwar o geudyllau, neu gelloedd. Y prif ddau o'r pedwar, a elwir yn *ventricles*, oddiwrth y gair Lladin *ventriculus*, a hyny oddiar y dybiaeth eu bod yn debyg, o ran eu dull a'u ffurfiad, i'r cylla. Maent wedi eu hamgylchynu gan furiau cedyrn. Y celloedd lleiaf a elwir *auricles*, oddiwrth y gair Lladin *auricula*, clust, o achos y tebygolrwydd sydd ynddynt i glust ci; ac y maent yn ymglymedig wrth brif barth y galon, rywbeth yn debyg i glustiau. Y mae un *ventriclc* ac un *auricle* yn yr ochr ddeau i'r galon, ac un o bob un yn yr ochr aswy. Oddiwrth yr ochr aswy i'r galon, mae yn codi, fel bwa prydferth, lestr a elwir *aorta*, oddiwrth ba fan y mae yr holl redweliau eang yn cyfodi, y rhai ydynt yn gwahanu ac yn canghenu yn rhifedi annherfynol o fân lestri. Mae y rhedweliau brigeraidd mor fân ac aml, fel nas gellir gosod blaen nodwydd heb gyffwrdd âg un o honynt. Yn mhen eithaf y rhedweliau, mae y gwaed yn cyflawni y gwasanaeth mwyaf pwysig a bywiol i'r corff, ac yn cyrhaedd, neu yn ymgymeryd y lliw cochlas; ac nid yw mwyach yn addas i wasanaeth y corff. Ac o'r pen eithaf yma o'r rhedweliau, mae yn ymarllwys, (fel dwfr o gors,) ac wedi hyny yn dychwelyd, trwy y gwythenau brigeraidd, pa rai yn raddol sydd yn cyduno, hyd oni unant yn ddau lestr mawr ac eang, a elwir *vena cava*, wrth y galon. Mae y rhai

hyn, wedi cyrchu y gwaed o'r pen a'r aelodau, yn ei dywallt i'r *auricle* ddeau; oddiyma mae yn cael ei anfon i'r *ventricle* ddeau; oddiyno mae yn cael ei ddanfon allan trwy y rhedweliau ysgyfeinaidd. Yma y mae yn cael ei adranu, a'i ganghenu, yn nghyfundraeth fânwythenol yr ysgyfaint—gerllaw awyrgelloedd yr ysgyfaint. Yn y parth yma o'r corff, mae y gwaed yn derbyn arno y cyfnewidiad mwyaf bywiol, trwy yr hyn y mae yn cyrhaeddyd y wawr loyw-goch; ac y mae yn gyfaddas wedi hyny, i ddiwallu y cyfangorff.

Y mae mânwythenau yr ysgyfaint, yn cyduno yn bedair gwythien ysgyfeinaidd. Trwy y rhai hyn mae y gwaed yn dychwelyd i'r *auricle* aswy; ac o hon, anfonir ef i'r *ventricle* aswy; o ba le y mae yn cael ei ddosbarthu, fel y dysgrifiwyd o'r blaen, i bob cyfran o'r corff. Mae y ddwy *auricle* yn cyfyngu ar yr un pryd, ac ar yr amser hyny, mae y ddwy *ventricle* yn agoryd ar unwaith, ac felly mae y gwaed yn cael ei anfon gan, neu trwy allu dau-cymaint i'r *ventricles*. Yn y rhŷd, neu y fynedfa rhwng yr *auricles* a'r *ventricles*, mae yn osodedig ddorau nofiadwy, tebyg i'r cyfryw ag sydd mewn sugnedydd, neu dafod megin,—mae y rhai hyn yn rhwymedig isod, gan linynau wrth furiau y *ventricles*. Mae y rhai hyn yn gollwng y gwaed yn rhwydd o'r *auricles;* ond pan fyddo y *ventricles* wedi eu llenwi gan y gwaed, cyfodant i fynu; gan eu bod yn llywyddol gan hŷd y llinynau, y fynedfa a lenwir yn llawn. Pan fyddo y *ventrcles* yn eu tro yn cyfyngu, a'r gwaed heb allu llifo, neu redeg yn ei ol, rhaid iddo yn y sefyllfa yma fyned allan o'r *aorta*, ac mewn modd arall, rhaid iddo fyned o'r rhedweli ysgyfeinaidd. Mae yn nghêg pob un o'r llestri, ddôr, neu dafod, a hwn, pan fyddo y *ventricles* eto yn ymagor, sydd yn atal y gwaed i ddychwelyd iddynt yn ol. Fel hyn y mae gyrfa y gwaed yn cael ei gadw yn mlaen, nos a dydd, mewn cylchrediad

diorphwys; a phob un o'r rhai hyn yn cael ei gyflawni mewn oddeutu tri mynyd.

Yr offeryn prydferth y ceisiwyd ei ddarlunio, sydd yn gynnwysedig o beiriant bychan, yn ddim mwy na dwrn dyn; ac eto, mae y dorau crybwylledig yn cau ac yn agor saithdeg o weithiau mewn mynyd; ac, mewn cyflwr afiachus, gymaint ag un cant pumdeg o weithiau mewn mynyd.

Mae y galon yn perthyn i'r dosbarth hyny o'r cyhyrau, sef yr anwirfoddol. Y mae yn hollol tuhwnt i ein gallu i atal gweithrédiadau y galon, oddieithr arfer moddion celfyddawl. Wrth ystyried y doethineb a'r pwysfawrogrwydd o hyny, cawn ein dwyn i fawrygu ein braint, fod gweithrediadau y galon wedi eu rhoddi o afael a thuhwnt i ein hewyllys. Pe buasai wedi ei roddi yn rhan o ein dyledswydd, i weinyddu a rheoleiddio yr offeryn pwysfawr yma, am yspaid un mynyd, nis gallem roddi ein sylw am un mynydyn ar un peth arall; amheuaeth, neu darawiad amrant o esgeulusdod, neu anghofio un symudiad yn ei amser priodol, a derfynau ein bodoliaeth.—Nid oes dim ag sydd yn trosglwyddo i ein ffydd, a'n dealldwriaeth yn fwy amlwg, ddoethineb a daioni y Creawdwr Hollwybodol.

## Y GYFUNDRAETH YSGYFEINAIDD.

Yr ysgyfaint yw y prif beiriannau ag sydd wedi eu hordeinïo yn fwyaf neillduol i anadlu. Mae y rhai hyn yn derbyn, neu gymeryd yr awyr i mewn, trwy bibell, neu chwibol, a elwir *trachea*, pa un sydd yn gwahanu yn ganghenau a elwir *bronchia;* mae y rhai hyn eto yn gwahanu ac yn adranu yn nifer dirfawr o ganghenau, ac y mae terfyniad y canghenau yma mewn ceudodau, neu gelloedd bychain, a elwir yr awyr-gelloedd. Yr ysgyfaint a'r galon sydd yn meddiannu holl geudod y

ddwyfron, a elwir y gist (*chest.*) Mae y gist yn cael ei gwahanu oddiwrth geudod y bol, yn mha le y mae y cylla, y coluddion, yr afu, &c., gan wahanlen grwmfaol, o'r defnydd cyhyrog, a elwir *diaphragm.* Y peiriant diweddaf hwn yw prif reolydd cyffroad, a'r symudiadau perthynol i anadliad. Pan fyddo cyhyrau y *diaphragm* yn cwttogi, mae yn cael ei thynu i lawr, o'i dull crwmfaol, agos yn wastad; mae hyn yn lledaenu ac yn eangu y gist; a thrwy fod yr ysgyfaint yn hynod adlamol, neu wrthneidiol, mae pwysi yr awyr, wrth lenwi yr ysgyfaint, yn ei orfodi i ddilyn y *diaphragm;* a phan mae y *diaphragm* yn gostwng i lawr, mae yr ysgyfaint yn cael eu llenwi âg awyr. Mae yr asenau a'u cyhyrau hefyd, yn cyfranu cynnorthwy mawr i'r gwrthneidiad yma. Mae yr asenau wedi eu cysylltu wrth yr yspîn gan gymalau, oddiwrth ba le y mae y rhai isaf yn gogwyddo i waered, ac yn y pen nesaf i ganol y gist, maent yn terfynu mewn madruddynau; y rhai hyn sydd yn gogwyddo tuag i fynu, ac yn cydio wrth asgwan y fron. Trwy y trefniant cywrain yma y mae, pan fyddo y cyhyrau rhwng yr asenau yn cwttogi, yr asenau isaf yn cael eu tynu tuag i fynu. Y mae muriau y ddwyfron, sef y rhai blaen a'r rhai ystlysol, yn cael eu gwthio allan, a maintioli ceudod y gist yn eangu, yr hyn a elwir anadliad; ac yna mae y *diaphragm* yn cwttogi neu yn cyfodi i fynu yn grwmfach,—yr ysgyfaint yn dadymchwyddo,—yr awyr yn myned allan,—a'r cynghawsedd yma, a elwir chwythiad allan.

Pan fyddo y cyhyrau a nodwyd yn flaenorol yn ymlaesu; cyhyrau y bol yn eu tro, yn cwttogi, ac yn tynu yr asenau i lawr, a gwasgu ar y *diaphragm* ar i fynu, a'r ysgyfaint ar yr un pryd yn cydsypiaw, trwy eu gallu cynhenid eu hunain, mae yr awyr yn cael ei hymlid ymaith; yr hyn a elwir yn anadlu allan. Wrth hyn, gwelwn fod y gweithrediad bywiol yma, a elwir anadl-

iad, yn cael ei gyflawni, yn benaf, gan y peiriannau buddiol yma, sef yr asenau, &c.; pa rai y mae benywod difoes ac anneallus yn ymdrechu eu rhwystro, trwy wasgrwymo eu hunain yn dŷn.

Mae y nerth a'r gallu bywiol yn ymddibynu llawer ar faintioli y gist. Pan fyddo yn fawr a helaeth, mae y person, yn gyffredin, yn feddiannol ar dymer fywiog, a chyfansawdd gwaedog. Nid yw hyn yn ymddangos yn ddyeithr, pan ystyriom mai anadliad yw yr unig ffynnonell ag sydd yn cynnyrchu y gwres anianol; ac hefyd, fod y grym o genedlu gwres yn y corff anianol, yn gyfatebol i'r grym neu y nerth bywiol.

Y bywiol ansawdd, neu brif gynnaliaeth bywyd yn yr awyrgylch yw y surbair, o'r hyn y mae yr awyr yn cynnwys o ddeutu y bummed ran; ac y mae pâr o ysgyfaint cyffredin yn treulio pedwardeg o fodfeddi cubaidd bob mynyd; ac yn gadael, neu fwrw allan yn ei le, agos yr un faint o *carbonic acid gas.*—Yn hwn, mae y bywyd anianol yn diffodd fel canwyll, neu fel pe byddai mewn dwfr.

Mae yr awyrgylch yn cynnwys o ddeutu y bummed ran o surbair, a'r bedwaredd ran o blawrbair. Y surbair yw y prif sylwedd, pan ei derbynir i'r ysgyfaint, ag sydd yn achosi cyfnewidiad yn lliw a phriodoledd y gwaed, ac yn dadolöi neu gynnyrchu y *caloric*, neu y defnydd gwres ag sydd yn ofynol yn y corff.

Y wawr ddû sydd ar y gwaed gwythenog, sydd, yn fwyaf pennodol, yn cael ei achosi gan fodoliaeth creisin, pa un sydd o sylwedd, neu elfen sengl, adnabyddus i ni wrth yr enw golosg-goed; yr hwn sydd, gan mwyaf, yn greisin pur. Y mae cyrff anianol yn cynnwys llawer iawn o greisin mewn ffurf deneu a threiddiol; ac y mae yn wybodus fod yn y surbair berthynas, neu dyniad cryf tuag at y creisin, ac y mae, yn gyffredin, yn uno gydag ef, trwy wrthod y sylweddau ereill; a ffrwyth

yr undeb yma yw gwres a *carbonic acid.* Yr ydym yn anadlu, neu dynu i mewn surbair a blawrbair, ac yn bwrw, neu chwythu allan y *carbonic acid.* Am hyny, rhaid fod y surbair wedi ymadael â'r blawrbair, ac ymuno gyda y creisin; ac am nad yw y surbair yn dychwelyd yn ol, ar ol iddo gael ei anadlu i mewn yn surbair pur, mae hyny yn brawf digonol ei fod wedi cymeryd y creisin o'r gwaed, ac ymuno âg ef.

Heblaw hyn, y mae yn cael ei fwrw allan o'r ysgyfaint darth, neu ager dyfrllyd, yn swm, fel yr ystyrir gan rai, o ddauddeg wns yn nghyfnod dauddeg-pedair o oriau. Mae yn ffaith fod swm mawr yn cael ei anfon allan gyda phob anadliad, yr hyn a ellir ei brofi trwy anadlu ar wydr; wrth barhau i anadlu arno, tewycha yr ager, ac yn fuan pentyra yn ddefnynau.

Y mae pob person yn anadlu oddeutu dauddeg o weithiau bob mynyd, ac yn cymeryd i mewn ychydig yn fwy na pheint o awyr yn yr amser hyny. Mae y surbair agos oll yn cael ei ddefnyddio gan yr ysgyfaint; ond eto, mae y surbair yn ffurfio rhan o sylwedd ag sydd mor niweidiol i iechyd, ag yw mygdarth golosggoed. Gan hyny, pan fyddo nifer o bersonau yn anadlu yr un awyr, maent yn gyflym yn dihysbyddu yr awyr o'i sylwedd o fywyd cynhaliol ac iachusol; ac y mae y cyfryw rai yn dynoethi eu hunain i berygl mawr. Y rheswm am hyn sydd fel y canlyn:—Nid oes dim surbair, newydd a phur, i'w gael i'r ysgyfaint, ac nis gall y gwaed tywyll wrthod y creisin, o herwydd mai trwy yr elfen yma yn unig y mae hyn yn cael ei gyflawni. Y gwaed, gan hyny, nid yw yn adfywioli;—y mae yn gorfod myned yn ol i'r galon a'r ysgyfaint yn ei sefyllfa anmhur, ac am hyny, yn cael ei anfon trwy yr holl gorff yn hollol annghymwys i roddi y maeth priodol; a thrwy hyny bydd yr holl gorff yn derbyn niweidiad:— yr ymenydd, a'r yspîn, pa rai ydynt ganolbarth y gallu

gieuaidd, ydynt yn myned yn yn analluog i gyflawni eu galwedigaeth oruchel yn briodol. Mae gweithrediadau y galon, a'r ysgyfaint, trwy hyny, yn myned yn ddiffygiol. Felly, yn uniongyrchol ac anuniongyrchol, y mae holl beiriannau bywyd yn methu, ac yn gyflym fyned yn arlwythog gan waed adwythig; ac oni esmwytheir hwynt yn fuan, trwy adael i'r ysgyfaint gael awyr newydd a phur, y canlyniad fydd angeu.

O dan yr amrywiaeth mwyaf yn amgylchiadau neu dymherau yr hinsoddau, cafwyd bob amser, fod tymheredd y corff yn 98 ar wresfesurydd Fahrenheit. Os profir trigolion yr India, o dan belydrau crasboeth haul y cyhydedd, â thrigolion cyffiniau rhewllyd Labrador, neu Iceland, lle y mae y trigolion yn amgaedig gan eira oesol, canfyddir fod tymheredd y corff yn ddigyfnewid yr un. Yr ysgyfaint yw y ffwrn, lle y mae y *caloric* angenrheidiol yn cael ei ddarparu, ac oddi yno mae yn cael ei ddosbarthu trwy y cyfangorff. Ond prif reolydd tymheredd y corff yw y croen, yr hwn a ddysgrifir mewn man arall.

Dymunwn i hyn fod wedi ei argraffu ar feddwl pob *dyn* a *dynes*, sef,—*Bod rhaid cael awyr neu farw; ac awyr bur neu fod yn afiach!*

## Y GYFUNDRAETH DREULBAIR. *(DIGESTIVE SYSTEM.)*

Treulbairiad yw y gynghawsedd sydd yn troi yr ymborth yn waed.—Mae amrywiol barthau yn cyflwyno eu gwasanaeth i'r gorchwyl yma. Y mae peiriannau y dosbarth yma yn cynnwys, *Yn gyntaf,* Y dannedd, pa rai sydd yn cyflawni y gorchwyl o dôri a malu yr ymborth. *Yn ail,* Yr *asophagus*, neu y sefnig chwibol, trwy ba un y mae yr ymborth yn myned i lawr, ac yn disgyn i'r cylla. *Yn drydydd,* Y cylla, pa un sydd

yn derbyn yr ymborth o'r sefnig, ac yn mha le y cyflawnir cyfnewidiad dirfawr yn ei ansawdd. *Yn bedwerydd*, Y *duodenum*, côd fechan, a elwir weithiau yr ail gylla, yn mha le mae y sylweddau yn myned trwy gyfnewidiad pellach. *Yn bummed*, Chwibol hir a chyd-ddyrwynedig, sef y coluddion. Oddimewn i hon y mae nifer lluosog o gegau, neu agoriadau bychain, a elwir, *Yn chwecked*, Y llestri llaethog (*lacteals;*) gorchwyl pa rai ydyw, didol cymaint o'r ymborth treuliedig ag sydd wedi ei gymhwyso i ddyfod i gynhwysiad, neu ffurfiad y gwaed; a thrwy y didoliad cywrain yma, maent yn gwrthod yr hyn sydd yn annghymwys. Mae y llestri hyn yn uno yn nghyd yn raddol, hyd oni ffurfiant, *Yn seithfed*, Y chwibol a elwir y *thoracic duct*, i ba un maent yn tywallt eu cynnwysiad. Y chwibol, neu y gamlas yma, sydd yn arllwys ei chynhwysiad i un o'r gwythenau mawrion wrth y galon; ac oddi yno mae yn cael ei gludo i'r cylchrediad cyffredin, ac yna mae yn dyfod yn gyfran o'r gwaed bywiol.

Mae y gradd cyntaf yn nhreuliad yr ymborth yn cael ei gyflawni yn y genau. Mae y dannedd yn ei gnoi ac yn ei dóri, a'r poer yn ei wlyddeiddio. Mae y poer yn dyfod i'r genau o gylchwyrnau (*glands*,) ag ydynt yn bodoli y tu isaf i'r glust, a elwir cylchwyrnau cerglustiog (*parotid glands*,) pa rai a gyfryngir â'r genau trwy bibell, o faintioli cwilsyn, trwy ba un y mae y poer yn cael ei arllwys yn ystod cnoad. Maent wedi eu sefydlu yn y fath fodd, fel y mae gweithrediad yr ên wrth gnoi yn gwasgu yr hylif, ac yn ei wthio yn mlaen i gymysgu â'r ymborth. Y mae cylchwyrnau dan yr ên, a elwir *sub-maxillary glands*, yn cyflawni yr un gorchwyl a'r rhai blaenorol a nodwyd. Mae yr hylif, neu y poer y maent yn ei ddidoli o'r gwaed, yn meddalhau yr ymborth, ac yn ei ddarparu gogyfer â gweithrediad y cylla. Wrth hyn, canfyddwn ffolineb dynion yn gwastraffu

yr hylif gwerthfawr yma, wrth gnoi y llysieuyn gwenwynig hwnw, sef y ffwgws. Hefyd, gellir, trwy arferyd rhyw foddion, megys *mercury*, ffwgws, &c., ag sydd yn effeithio ar ddidoliadau y cylchwyrnau, gynnyrchu y fath boerlifiant ac a ddifroda y cyfansoddiad; neu a effeithiant yn y fath fodd fel y didolant holl gynhaliaeth y gwaed.

Mae y cylla wedi achosi mwy o syndod, ac hefyd fwy o weithrediadau myfyriol y meddwl, nag un peiriant arall yn y corff. Mae yn amlwg i'r sylwedydd mwyaf diofal, fod cysylltiad agos yn bodoli rhwng y cylla â holl barthau y corff; a chanfyddir fel y mae yn cydymdeimlo â'r peiriannau ereill; ac hefyd, mor aml y mae physygwyr yn gorfod cymhwyso y feddyginiaeth at barthau pell, i'r dyben o leddfu anhwyldeb ymddangosiadol yn y cylla. Cynnyrchir cyfogiad yn aml gan ddyrnod ar y pen, a marwolaeth yn fynych trwy ergyd ar, neu yn mharth y cylla. Mae y cydymdeimlad sydd rhwng y meddwl a'r cylla yn amlwg hynod yn fynych; pan dderbynir hysbysiaeth drallodus, y cylla a fwrw allan ei gynnwysiad, neu fe fydd yn gwrthod derbyn ychwaneg. Canfyddwyd yn fynych, fod cynhyrfiad y meddwl ieuangaidd yn dwyn ymaith yn hollol y chwant bwyd arferol. Y mae cydundeb amlwg i'w weled rhwng y cylla a chanolbwynt y bywyd anianol; pa le y mae hyny sydd ddadl heb ei therfynu. Ond gall y difynwr ddangos trwy ba foddion y mae y cydundeb yma yn bodoli; efe a noda y lluosog linynau tyner, ag ydynt yn uno y peiriannau mwyaf bywiol a theimladol gyda y cylla. Y mae agos i bawb yn gwybod yn bresenol, fod y cylla wedi ei ddiwallu â mwy o'r giau nag un peiriant arall yn y corff; a chan ei fod, trwy gyfrwng y giau, yn unedig â nifer mwy o beiriannau nag un arall, ac hefyd fod y dylanwad gieuog yn fwy hynodedig, o herwydd yr amrywiol ffynnonellau y maent yn tarddu. Mae y

cylla yn wahanol i bob peiriant arall, a herwydd y mae ei ddylanwad gieuaidd yn darddedig o'r holl ffynnonau gieuog ar unwaith, nid yn unig y cyfryw ag sydd yn sefydledig agosaf, ond o holl barthau pellaf y corff. Y mae cysylltiad rhwng y cylla a'r oll o'r gyfundraeth gieuog, oddigerth y cyfryw a elwir peiriannau deall-dwriaeth. Y mae pâr o giau yn tarddu o'r ymenydd i wasanaethu y cylla yn uniongyrchol, er ei fod yn mhell oddiwrth yr ymenydd. Gan fod y cylla yn feddianol ar gymaint helaethrwydd o'r priodoliaethau gieu-aidd, mae yn rhaid ei fod yn meddiannu graddau uchel o'r galluoedd a briodolir i'r gyfundraeth gieuog. Ac y mae yn ddiamheuol fod y cylla yn hynod deimladol, gan ei fod yn ymgymeryd cyfran mor nodedig o holl weith-rediadau y cyfangorff. Mae yn cydymdeimlo yn yr holl gyfnewidiadau; felly, gellir golygu y cylla fel math o ganolbwynt cyffredinol, trwy yr hyn y mae y swydd-ogaeth peiriannol yn gydunol; ac hefyd, rheolaeth eu symudiadau.—Oddiar yr ystyriaethau yma, yr oedd Van Helmont, ac ereill, yn golygu mai yn y peiriant yma yr oedd eisteddfod yr enaid anfarwol.

Y cylla sydd gôd hirgrwn, ac yn gorwedd yn mharth uchaf ceudod y bol, gyferbyn a'r lle a elwir pwll y galon; ond, yn fwy priodol, twll y cylla. Mae y cylla yn gyfansoddedig o dair gorchudd, neu femrynau. Yr allanol, neu y gorchudd meiddog, yr hwn sydd dew ac ystwyth, ac yn gwasanaethu fel toad i'r cylla. Yn nesaf at hwn y gorwedd y gorchudd cyhyrog; pa un sydd gyfansoddedig o nifer lluosog o fân-edafedd cyhyr-og, pa rai sydd yn rhedeg mewn tair o wahanol ffyrdd; un rhan o honynt ar hyd y cylla; ar ail ar draws, yn amgylchynu y cylla; a'r trydydd, ar osgo i'r lleill.

Oddimewn i'r gorchudd cyhyrog, ac yn ffurfio y gwrthlain tumewnol, mae yn gorwedd y mwaf pwys-fawr a thyneraf o'r cwbl oll, sef y gorchudd llysnafedd-

og. Canfyddir yn hwn, wrth edrych trwy chwyddwydr, fod yr arwyneb yn llawn o agoriadau bychain, pa rai ydynt agoriadau pibellau, sydd yn arwain oddiwrth gylchwyrnau gosodedig oddimewn i adeilad y memrwn, neu y gorchudd. Mae y rhai hyn yn anfon, neu dywallt hylif llysnafeddog, pa un sydd yn gwasanaethu i feddalhau ac ireiddio y memrwn oddimewn. Heblaw yr hylif llysnafeddog a grybwyllwyd, i'r dyben o ireiddio yr arwyneb tufewnol, mae y gorchudd yma yn y cylla, wedi ei gymhwyso i ddidoli hylif arall, ag sydd o'r pwysfawrogrwydd mwyaf yn y gynghawsedd dreilbair. Y mae yn meddu y galluoedd mwyaf hynod o un hylif a ganfyddwyd erioed.— Gelwir hwn yr hylif cyllaol, (*gastric juice.*) Yr hylif neillduol yma, pa un sydd bob amser yn bresenol yn y cylla, ac yn barod i weithredu ar bob math o ymborth a ddaw i'w gyffyrddiad, trwy effeithio yn dawel, ond eto, â gallu anwrthwynebol, ar ymborth anifeilaidd a llysieuol, gyda y fath rwyddineb, fel y cyflawna y cam pwysfawr cyntaf o'r treuliad.

Wrth fyned o'r cylla, yr ydym yn dyfod at gôd o faintioli llai, ond o ran cyfansoddiad, tebyg i'r cylla, ond y mae yn gwahaniaethu ychydig yn yr hyn y mae yn ei gyflawni yn nhreuliad yr ymborth.— Gelwir hon, weithiau, yr ail gylla, ond yn gelfyddydawl, *duodenum.* Yn y peiriant yma, mae yr ymborth yn dyfod mewn cyffyrddiad â'r geri (*bile*,) ac â hylifoedd ereill, pa rai a gynnyrchant gyfnewidiad hynod yn ei natur. Yr ymagoriad rhwng y *duodenum* a'r cylla, trwy ba le mae yr ymborth yn myned, a elwir *pylorus.* Y mae goruchwyliaeth y parth yma yn hynod—yn neillduol felly mewn mwy nag un golygiad. Mae y mân-edafedd cyhyrog a gydgyfarfyddant yn y fan yma, fel rhwymyn cryf, yn amgylchynu yr agorfa, yr hon sydd a gallu i ymgrynhoi a chauad yn glòs—ac eangu trwy ymlaesu. Y mae fel hyn yn rheoleiddio ymadawiad cynnwysiad

y cylla; ac am fod y fan wedi ei gynysgaeddu â theimladrwydd anghyffredin, y mae iddo allu didoladwy neillduol, mewn caniatau i'r rhan hyny yn unig o'r ymborth, ag sydd wedi ei ddarparu yn ddigonol fyned trwyddo, a gwrthod yr hyn sydd i weithredu ychwaneg arno yn y cylla.

Heb son dim am yr amrywiol athrawiaethau a'r amcandybiau a ffurfiwyd yn yr oesoedd a aethant heibio, am weithrediad y cylla, dywed yr enwog Hunter, wrth sylwi ar dreuliad yn y cylla—'Rhai a wnaethant y cylla yn felin; rhai a fynent ei fod yn grochan berwedig; a rhai yn gafn darllaw; ac eto, trwy y cyfan, fod prawf digonol nad yw y cylla ychwaith yn felin, na chrochan berwedig, na chafn darllaw, na dim arall ond cylla.' Ac eto, yn ngwyneb yr holl oleuni y mae dysgeidiaeth a dynsoddiaeth wedi ei roddi, dywed rhai fod yn angenrheidiol cael llyngyr i dreulio bwyd; ond hyn sydd yn ffaith, y treulid y bwyd yn llawer gwell heb y llyngyr. Yr ymborth wedi myned trwy y cynghawsedd o gnoad, a'i lyncu, sydd yn myned i'r cylla, yn mha le, y mae yn ddidoledig yr hylif hynod hwnw, a elwir yr hylif cyllaol. Gweithrediad fferyllaidd yr hylif yma, a gweithrediadau cyhyrau gorchudd cyhyrog y cylla, a gynnyrchant gyfnewidiad ynddo mewn ychydig oriau. Mae y sylwedd brith-rywiog yn cael ei gyfnewid yn delpyn meddal, prin yn tebygoli i'w ansawdd gyntefig, hyd yn nod yn ei arogl. Nid yw yr hylif yma yn effeithio ar yr ymborth, ond yn unig yn y fan lle y mae yn cyffwrdd âg ef; ac felly, pe byddai yn aros yn llonydd, cymerid amser maith i effeithio ar yr oll o hono. I ddiwygio y diffyg hwn, mae cyhyrau y cylla mewn symudiad a gweithrediad parhaus. Y mae rhai yn cwtogi, y lleill yn ymestyn ac yn eangu, a thrwy hyny, mae yr ymborth yn cael ei dreiglo a'i daflu o gwmpas, a gwyneb arall yn cael ei droi at er hylif yn barhaus.

Mae tebygoliaeth yn y gweithrediadau hyn i gorddi llaeth. Y mae pob math o ymborth yn cael ei droi i'r cyflwr yma trwy weithrediad grymus yr hylif cyllaol, er mor syml ac anfywiol yr ymddengys, trwy ddosraniad fferyllaidd, eto, y mae ynddo y grym o ddadleithio esgyrn celyd, pan y mae crwyn meddalion ffrwythydd, mân-edafedd, a chotwm yn dianc heb iddo effeithio arnynt yn y radd leiaf. Mae y gweithrediadau yma, a'r fath debygolrwydd ynddynt i natur, neu berthynas fferyllaidd, fel y maent yn gynnorthwy i ni i ddeall natur y gweithrediad.

Pan fyddo yr ymborth wedi myned trwy weithrediadau y cylla, mae yn myned at agorfa, neu enau y *pylorus*, i gael mynediad i'r *duodenum*, neu fel ei gelwir weithiau, yr ail gylla. Mae yn yr agorfa yma deimladrwydd, neu syniad neillduol, fel nad yw yn gadael ond yn unig y peth sydd wedi ei ddarparu yn ddigonol i fyned trwyddo, a throi yn ei ol y llall, i gael effeithio yn ychwaneg arno yn y cylla. Gwir fod sylweddau annhreuliedig wedi myned trwyddo, megys botymau, arian, cyllill, &c. Pan fyddo sylweddau cyffelyb i hyn yn myned at enau y *pylorus*, maent yn cael eu gwrthod, ond y mae y cynnygiadau yn cael eu mynychu, hyd oni byddo teimladrwydd y fan wedi ei orchfygu gan eu mynych gyffyrddiad; a phan fyddo yr agorfa wedi diffygio gan eu dyfal-gais, mae sylweddau annhreuliedig yn myned drwyddo.

Wedi i'r *chyme*, neu yr ymborth treuliedig o iawn ffurf, fyned i'r *duodenum*, mae cyfnewidiad dirfawr a sylweddol yn cymeryd lle arno; mae ei gyfansoddiad fferyllaidd yn myned trwy gyfnewidiad pellach. Cynnyrchir y cyfnewidiad hwn gan y geri, a nôdd y cefndedyn (*pancreatic juice*,) a meddylir fod y *duodenum* yn didol hylif hefyd, yn nghyda gweithrediad cynronynawg (*vermicular*) y *duodenum*.

Yr afu sydd yn didol y geri. Y cylchwyrnyn mwyaf yn y corff yw y peiriant yma, yn gorwedd yr ochr ddeau, dan yr asenau, ac yn crogi wrth rwymynau. Mae yn cael ei ddiwallu yn helaeth gan waed, ac o hwnw mae yn didol mesur mawr o'r hylif neillduol yma, sef y geri, pa un sydd yn cael ei drosglwyddo i'r *duodenum* trwy bib, a elwir y bib geriawl (*biliary duct.*)

Pledren y geri sydd gôd femrynaidd, yn cynnwys o ddeutu dwy neu dair wns, ac y mae yn ymlynol wrth yr ochr isaf i'r afu. Gorchwyl priodol pledren y geri, yw cadw y geri, fel y byddo mesur digonol o hono i effeithio ar y *chyme* yn y *duodenum*, heb ddysgwyl wrth weithrediad yr afu.

Nôdd y cefndedyn sydd yn dyfod o'r cefndedyn; pa un sydd lafn o gig a welir wrth asgwrn y cefn, y tu ol i'r cylla. Y cylchwyrnyn yma sydd yn didol nôdd cyffelyb i'r poer yn y genau; ac y mae chwibol yn dyfod o hono ac yn cludo y nôdd i'r *duodenum.* Prif orchwyliaeth yr hylifoedd hyn, yw troi y *chyme* sydd yn cael ei ddanfon o'r cylla, yn sylwedd a elwir caul, neu y sylwedd llaethog. Oddiyma mae y caul yn cael ei anfon trwy y coluddion gan fath o ysgogiadau, neu symudiadau ymlusgiadol.

Mae y coluddion yn llawn o dyllau, neu agoriadau bychain, a phibellau yn arwain o honynt, pa rai a elwir y llestri llaethog, am fod eu cynhwysiad yn gyffelyb i laeth. Y mae geneuau yr agoriadau, neu y llestri yma fel y *pylorus*, yn feddannol ar deimladrwydd neillduol, ac anian ddidoladwy, fel y maent yn gwrthod pethau ag ydynt anmhriodol i feithrin y corff, ac yn eu danfon ymaith fel ymgarth difudd; ond y maent yn cadw y cyfan ag sydd iachusol a meithrinol, os byddant mewn ansawdd iachus.

Mae y llestri llaethog, fel y maent yn myned yn mlaen, yn ymuno â'u gilydd. Maent yn lleihau yn eu

nifer, ac yn mwyhau yn eu maintioli, ac o'r diwedd yn arllwys eu hunain i'r chwibol ddwyfranawl (*thoracic duct*,) yr hon sydd yn gorwedd ar hyd asgwrn y cefn. Mae y chwibol yma yn arwain y caul i'r fan lle y mae yn cael ei fwrw i ffrwd y gwaed, wrth y galon. Am ychydig amser mae y caul, yr hwn sydd o liw melyn prydferth, fel yn ymdrechu rhag ymgymysgu â'r gwaed, ond y mae ei ruthr yn mlaen megys yn ei suddo yn mynwes y gwaed, ac felly, yn ei gymysgu â'r ffrwd fywyd-gynhaliol; fel afonig risialaidd yn tarddu o'r mynydd, yn cael ei cholli yn nyfroedd heilltion y môr.

Wrth ddysgrifio yr holl ranau cymhlethedig hyn, bydded i'r darllenydd ddal yn ei gof, fod undeb a chydymdeimlad cyffredinol yn bodoli. Beth bynag fyddo yr ymborth a gymerir, bydd y caul o'r un natur. Yn gydwedd â hyn, cafodd Mulder, fferyllydd Ellmynaidd, fod *potash*, pan yn cael ei roddi at, neu yn gweithredu ar *albumen*, *fibrin* a *casein*, (elfenau cyfansawdd llaeth, a'r prif ddefnyddiau sydd yn cyfansoddi ein hymborth,) yn cynnyrchu cyfansawdd, a elwir *protein*. Mae yr elfen yma yn cael ei hystyried, gan Liebig, yn gychwynfa holl ddefnyddiau y corff. Ac os rhoddir *potash*, mewn ffurf o *salaratus*, mewn teisenau, fe allai y bydd rhai yn dysgwyl treuliad, trwy gynnyrchu *protein* annaturiol; ond y mae caul annaturiol teisenau breision yn myned trwy y corff heb gyfnewid, a chan hyny, yn cynnyrchu defnyddiau annaturiol. Pa ryfedd gan hyny, fod y cyfryw ag ydynt yn bwyta bwydydd breision, yn marw o dan effeithiau y droedwst, alariad, y parlys mud, &c., pan ystyriom fod profiadau wedi amlygu, fod *fibrin* ac *albumen* yn gofyn llai grym i'w treulio, ac yn fwy meithrinol; ac hefyd fod olew yn cynnyrchu hurtrwydd ac afiechyd. Y mae yr Esquimax, y rhai ydynt yn defnyddio cymaint o olew y morfil, yn dynesu at nodwedd anifeiliaid direswm. Y mae olew a saim

yn hynod o anhawdd eu treulio, ac yn gofyn y grym bywiol yn ormodol, ac felly yn yspeilio y gyfran sydd ofynol at wasanaeth y dealldwriaeth; a chan hyny mae yn orchymynedig yn yr Ysgrythyr, am beidio bwyta brasder na gwaed. Yn gydunol â hyn, cawn fod yr anifeiliaid glân, sef yr ŷch, y ddafad, &c., o'r rhywogaeth gyhyrog; a bod yr anifeiliaid ag ydynt yn casglu llawer o frasder, megys y mochyn, yr arth, y camel, &c., o'r rhywogaeth aflan. Mae yr ŷch a'r ddafad yn treulio gwelltglas, pan y mae moch yn difa ŷd a ffrwythydd; yr hyn sydd yn ymborth dynion. Ac felly, nid yn unig byddai yn fuddioldeb dynsoddol, ond hefyd yn ddigollediad, pe byddai bwyta moch yn cael ei alltudio o'r wladwriaeth.

## Y GYFUNDRAETH DDYDDYFNAWL.
## *(ABSORBENT SYSTEM.)*

Y gyfundraeth yma sydd yn sugno, neu yn cludo y maeth o'r coluddion. Yn gyntaf, y llestri llaethog, pa rai a gyfodant yn nifer lluosog yn arwyneb tumewnol y coluddion, ac yn sugno y caul, a'i gludo trwy gylchwyrnau yn nghyffiniau y rhan hyn o'r gamlas feithrinol (*alimentary canal,*) o ba le mae yn cael ei gludo i gôd hirgron wrth ben isaf yr yspîn, a elwir *receptaculum chyli:* oddiyma mae yn dyrchafu ar hyd yr yspîn, yn y chwibol ddwyfranawl, pa un sydd yn ei arllwys i un o'r gwythenau mawrion, ac oddiyno i'r galon. Y dosbarth o sugnyddolion a elwir dyfrlynolion (*lymphatics,*) pa rai sydd yn cyfodi yn nifer lluosog yn mhob cyfran o'r corff, o ba lefydd y maent yn sugno hylif a elwir dyfrlyn (*lymph,*) yr hwn sydd wlybwr gloyw a diliw; a meddylir, ei fod yn cael ei fwrw allan yn, neu wrth newidiad y defnyddiau, neu pan y mae y defnydd newydd yn cael ei osod yn ei le; ac y mae y rhai hyn

yn cludo ymaith y defnydd trosben hwn, pa un eto sydd ddefnyddiol, i'r trefniant bywiol, yr hwn sydd yn cael ei gludo i redfa y caul, ac yn cael ei arllwys i'r gwaed.

Yr hylifoedd wrth fyned trwy y sugnyddolion a'u cylchwyrnau, sydd yn ymgymeryd ffurf crynynol, ac yn cyrhaeddyd y gallu ceuledig, neu y gallu cyd-drefniad (*organization*,)—heblaw meddu nodweddion ereill, perthynol i'r gwaed.—O'r galon mae y caul yn cael ei anfon, gyda y gwaed gwythenog i'r ysgyfaint, yn mha le mae yn derbyn cyfnewidiad mawr, a elwir awyriad, ac yn ddiweddaf, pan yn myned trwy y rhedweliau brigeraidd, y mae yn cyflawni y dyben terfynol, sef cyflunio a chynnyrchu, neu wneuthur defnyddiau y corff;—yr orchwyliaeth yma a elwir maethiad.

Wele yn awr, lle gwelir y fan ac y mae gweithrediad y swyddogaeth fywydol, yn yr eithafedd a'i manylrwydd; dyma lle y mae trawsnewidiad. Y mae cyfansawdd y gwaed yn troi yn ddefnyddiau y corff; a defnyddiau y corff, wedi hyny, yn troi yn ddyfrlyn ac yn didol sylwedd difudd, yr hwn a fwrir ymaith fel ymgarth.

Y gwaed, pan ollyngir, sydd yn gwahanu yn ddwy ran: hylif, yr hwn a gyfoda i'r gwyneb, cyfansoddedig o *albumen*, ac y mae gwres yn ei geulo; a rhan arall yn dewach, pa un sydd yn ceulo o hono ei hun, cyfansoddol o *fiibrin*, calch, a chymysgedd o haiarn, mewn ffurf o ronynau cochion. Y mae mwy o'r *albumen* yn bodoli yn y gwaed nac un o'r elfenau ereill, ac y mae o'r un ansawdd a'r giau. Mae yn debygol fod y rhan yma o'r corff, yn goddef trawsnewidiad cyflymach nac un cyfran arall, ac yn gofyn, gan hyny, fwy o gynhaliaeth. Trwy hyn, canfyddir yn eglur, o ba le mae y rhwyddineb yn tarddu i newid arferiad ac ansawdd y meddwl; a'r ffaith hefyd a brofwyd gan benddysgwyr, fod yr ymenydd yn alluog i eangu, mwy nac un peiriant arall

yn nghyfansoddiad dyn mewn oedran. Ac hefyd, yr angenrheidrwydd am gwsg i'r cyfryw ag sydd âg ymenydd mawr, i'r dyben o'i adnewyddu.

*Fibrin* yw y sylwedd ag sydd mwyaf o hono yn nesaf, ac y mae yr unrhyw yn ei ansawdd â'r cyhyrau. Mae gweithrediadau y rhai hyn yn fawr, ac o angenrheidrwydd maent y nesaf ag sydd yn myned trwy y trawsnewidiad cyflymaf.

Calch yw y sylwedd nesaf; y mae hwn yn angenrheidiol tuag at gynhaliaeth yr esgyrn; a chan eu bod yn goddef cyfnewidiad arafach na y defnyddiau ereill yn y corff, nid oes angenrheidrwydd am gymaint o hono.

*Gelatin* yw y sylwedd sydd yn cyfansoddi y defnydd cellawg—ffurfwaith mawr y corff. Ni cheir hwn yn y gwaed, ond y mae yn cael ei gynnyrchu o elfenau y gwaed, trwy ychwanegiad surbair. Y mae hyn yn gyfnewidiad fferyllaidd gwreiddiol, pa un sydd yn gofyn grym, neu allu bywiol lled fawr—yn ganlynol mae y defnydd yn goddef cyfnewidiad llai.

Canfyddwn yma yr anhawsder i wellhau ysigiadau, a thoriadau rhwymynau (*ligameuts*,) a gewynau; ac hefyd pan fyddo y cyhyrau yn treulio, ac yn crebychu o achos afiechyd, neu haint, mae y gewynau yn parhau eu maintiolaeth cynhwynol. Y mae yn ffaith hynod, a brofwyd gan Liebig, na wna *gelatin* ddim cynnal bywyd. Mae anifeiliaid wrth gael eu porthi arno yn meirw o newyn, yn ol pob ymddangosiad. Ac y mae yn ffaith, nas gellir dychwelyd *gelatin* yn *protein*, fel *albumen* a *fibrin*. *Casein* hefyd, (gwaelod llaeth, yr unig ymborth a ddarparwyd yn nniongyrchol yn anian) a droir yn *protein*.

Y prif wahaniaeth rhwng y gyfundraeth anifeilaidd a'r lysieuaidd ydyw, nad yw y llysiau ddim yn meddu ond ychydig o blawrbair, pan y mae yn elfen mwyaf

nodawl mewn anifeiliaid. Ond y mae hadau amrywiol o blanhigion yn cynnwys cyfansawdd blawriog, mewn ffurf cyffelyb i *albumen*, *fibrin*, a *casein*;—yr un fath yn hollol a'r elfenau yma yn y corff anifeilaidd. Y mae siwgr, sythai, gwm, llws, a brasder,—y pethau nad ydynt yn cynnwys blawrbair, yn analluog i gynnal bywyd, oddigerth anadliad a gwres corfforol.—Hebddynt, byddai yn rhaid i'r defnyddiau bywiol ddiwallu a chynnal y corff. Ci, wrth ei borthi â siwgr a drengodd mewn undeg-tri o ddyddiau.—Mul, wrth ei borthi â reis, a drengodd mewn undeg-pump o ddyddiau. Dyleu hyn argyhoeddi meddygon, ac atal iddynt gadw eu goddefwyr ar y fath bethau a sythai a gwm, &c.

Y gronynau cochion yn y gwaed, sydd yn perthyn yn fwyaf neillduol i'r gynghawsedd hóno, sef cynnyrchiad y gwres corfforol; yr hwn sydd gyffelyb yn ei natur i wres arall; a chynnyrchir ef yn y corff, yn gyffelyb i wres tân cyffredin. Mae yr hylifoedd yn ddyledus i wres (*caloric*) am eu neillduol briodoliaethau; fel esiampl, y surbair yn yr awyrgylch sydd yn cynnwys mesur mawr o hono mewn ansawdd gymysg.

Creisin, prif elfen tanwydd, pan mewn ffurf o *gas*, sydd a chyfathrach mwy tuag at y surbair nag sydd yn y surbair tuag at wres. Pan fyddo creisin wedi ei deneuo gan wres, y mae yn denu ac yn tynu y surbair—ac y mae yn myned iddo heb helaethu ei faintioli; wrth hyny, mae y surbair yn gorfod rhoddi i fynu ei holl wres, a thân fydd y canlyniad. Y mae perthynas agos rhwng haiarn a surbair; ac yn ngronynau y gwaed mae yn dyweddio, neu gymysgu gydag ef yn rhwydd ac ewyllysgar.

Creisin yw yr elfen fwyaf yn y gwaed; ond y gronynau a lwythir gan surbair yn yr ysgyfaint. Y maent yn myned yn gyflym trwy y rhedweliau, ac yn cysylltu â'r creisin; felly yn cynnyrchu gwres yn mhob cyfran

o'r corff, yr hyn sydd anhebgorol angenrheidiol, Fel y crybwyllwyd mewn man arall, pan ddodir ffwrnes â golosg-goed llosgadwy mewn ystafell, mae yn difodi y surbair, ac yn gadael *carbonic acid* yn ei le. A phan dynir i fewn yr anadl, bydd surbair yn cael ei dynu i fewn, ac wrth chwythu allan, bydd *carbonic acid* yn dyfod yn ei le. Nid oes dim gwahaniaeth yn y ddau fath yma o dân, ond yn unig nad yw y diweddaf yn treiglo goleuni. Yn y fan yma gwelir fod y gwaed rhedweliol, yn ei ymlosgiad yn yr ysgyfaint, yn dyfod yn loywgoch pan yn cynnyrchu *carbouic acid;* ond y mae y gwaed gwythenog yn dychwelyd yn raddol yn goch tywyll.

Y creisin yn yr ymborth sydd yn arlwyo yn fwyaf uniongyrch gynhaliaeth, neu danwydd tân y bywyd; ac o ganlyniad y mae dyn newynog yn rhewi yn fuan. O achos hyn y mae anifeiliaid yn y gauaf, yn gofyn cael mwy o ymborth nag yn yr haf. Nid yw y gwahaniaeth i'w ganfod mor amlwg yn mysg yr hil ddynol, gan eu bod hwy yn cyfartalu hyny gyda eu tân a'u dillad yn y gauaf, yn nghyd ag ymegniad ychwanegol. Ond yma geill gwrthddadl gyfodi.—Os ymborth yn unig yw ffynnonell gwres y corff, pa fodd y gall person fyw nifer o ddyddiau, a chadw ei wres hebddo? Y peiriannau, neu y darbariad prydferth gogyfer a'r diffyg yma, a ddysgrifiwyd yn flaenorol, sef y dyfrlynolion. Mae y rhai hyn yn cludo ymaith yr hen ddefnyddiau; ac oni bydd rhai newyddion yn cael eu dodi yn eu lle, bydd yr holl gorff yn cael ei gludo ymaith, a'i daflu i'r gwaed i gynnal anadliad a gwres. Felly, y mae diwalliad tanwydd yn cael ei gyfartalu, a gellir parhau i gynnyrchu gwres am lawer o ddyddiau, heb gymhorth newydd o ymborth.—Ond y mae y corff yn newynu, a'r holl sylweddau a galluoedd bywyd yn dynesu at ymddatodiad. Eto y mae llawer o feddygon yn cadw goddefwyr yn y

sefyllfa yma am hir amser, pryd y maent yn anturio dinystrio yr afiechyd!

Olew a brasder sydd yn cynnwys mwyaf o greisin, o'r holl sylweddau anifeilaidd; a chan hyny, cynnaliant hylosgiad corfforol yn hwy nac un rhan arall. Gwelir yma yr achos fod anifeiliaid ag sydd yn cysgu yn nghyfnod y gauaf, neu y cyfryw nad ydynt yn derbyn y gynhaliaeth arferol o ymborth, megys yr arth, &c. Mae y cyfryw yn casglu llawer yn nghyfnod yr haf. Mae gan y camel, nid yn unig lestr i gario dwfr at ei gynhaliaeth, ond hefyd gasgliad o frasder, fel llwyth ar ei gefn; felly y mae ganddo gynhaliaeth o danwydd a dwfr at ei gynnal i fyned ar draws yr anialwch diffrwyth. Canfyddir hefyd yn mhellach, ddybenion doeth y Creawdwr. Y mae brasder yn arwain gwres i ffordd yn araf, neu mewn geiriau ereill, mae yn atal y gwres i fyned ymaith o'r corff yn gyflym. Yr arth, pa un sydd yn cyfaneddu hinsawdd oer, y mae brasder wedi ei daenu ar hyd arwyneb y corff; a phan y mae fel tanwydd yn cynnal gwres, mae hefyd yn ei gadw rhag myned ymaith;—gwelir hyn hefyd yn y morfil. Pe byddai brasder wedi ei daenu yn y fath fodd ar hyd y camel, byddai yn anoddefadwy pan yn teithio dros y y tywod poeth. Canfyddir drwy y darpariadau yma, fod gwres unwedd o'r canlyniad mwyaf pwysfawr a bywiol i'r creadur. Ymddengys fod gwres mor angenrheidiol i'r creadur, ag yw goleuni i'r planhigion. Mae y defnyddiau yn cael eu dal mewn cyd-undeb o gyfartalwch gan y grym bywiol yma. Mae fel cyfrwng cyfathrachol rhwng eu mymrynau. Mae gosodiad y grym yma yn ymddibynu ar dymheredd oddeutu 98 ar wres-fesurydd Fahrenheit. Pan fyddo y tymheredd yn îs, mae dadgyfansoddiad yn ennill yr oruchafiaeth, ac y mae traws-newidid yn cynnyddu; mae hyny yn cynyddu y defnydd hylosgawl, a gwres yr

hyn sydd yn ymdrechu diogelu y defnyddiau, a gwrthwynebu achos yr aflonyddwch. Oddiyma y mae yn tarddu, fel un achos, y rhyndod yn y gorsaf; yn gyntaf twymniad a ddilynir a gwrth-weithrediad disymwth o wres.

Dywed Liebig, nad yw undeg-pump pwys o gig, yn cynnwys dim mwy o greisin, nag sydd mewn pedwar pwys o sythai; a phan fyddo dyn ac anifail ganddo â yr un faint o bwysau o sythai, yn gallu cynnal bywyd ac iechyd am gynifer o ddyddiau, y byddai yn orfod iddo (os byddai yn cael ei gyfyngu yn unig ar gig, i'r dyben o gynnyrchu creisin yn ddigonol i gynnal anadliad yn nghyfnod yr amser hyny,) dreulio pump o'r fath anifeiliaid. Mae yr athronyddiaeth yma, fel prawfiadau cyffredin, yn arddangos fod dyn yn gofyn ymborth cymysgedig. Gyda y fath ymborth, o herwydd ffurfiad neillduol dyn, yr ydys yn derbyn y swm mwyaf o gyfnewidiad gieuog a chyhyrog, gyda threuliad llai o'r galluoedd; am hyny y mae gan ddyn awdurdod ar bysg y môr, ehediaid y nefoedd, ac anifeiliaid y maes.

Mae *alcohol* yn cynnwys llawer o greisin ac yn hynod o fflamiol. Mae yn myned trwy y gyfundraeth ddyddyfnawl heb gyfnewid, ac yn cyfarfod â'r surbair yn y gwaed, ac yn ebrwydd yn cynnyrchu fflam ffyrnig, yr hon a ymddengys fel yn deifio hyd yn nod yr enaid. Ond i fod yn fwy athronyddol;—Wrth gynnyrchu gwres yr ydys yn cadw y defnydd cyhyrog heb angen iddo newid; felly mae y meddwyn yn gallu myned amryw ddyddiau heb ond ychydig o fwyd. Ond rhaid i'r ymenydd, a'r giau teimladrwydd, gan y cynhyrfiad, fod yn cael eu anrheithio; a'r chwant llygredig yn cynnyddu ac yn galw am ddim ond *alcohol;* ac ni chanfyddir y niwed hyd oni byddo wedi terfynu mewn gwallgofrwydd crynfaol (*delirium tremens.*)

*Thein* yw prif elfen, neu sylwedd tê a choffi. Mae

yn cynnwys mwy o blawrbair nag yr un o'r elfenau llysieuol ereill. Nid yw *thein* yn cynnal maethiad, am nad yw yn gymysgedig o *protein;* ac nid yw yn magu gwaed fel *albumen*, *fibrin*, a *casein*. Ond y mae Liebig wedi dangos fod cyngrair fferyllaidd agos rhwng *thein* a'r ymenydd. Ac y mae yn ffaith brofiadol, fod tê a choffi yn cynhyrfu a chymell gweithrediad y meddwl, ac yn gynnorthwy i gadw yn effro. Dywed Liebig nad yw *thein* yn wenwyn; y mae llawer o'r llysiau a'i cynnwysant yn wenwyn marwol; y cyfryw ag sydd heb fod yn dynesu at ansawdd yr ymenydd. Ac nis gellir ystyried tê a choffi ond fel meddyginiaeth, i'w harferyd yn achlysurol. Mae arferiad dyddiol o honynt yn annaturiol, ac yn cythryblu mantol y cyfansoddiad; ac hefyd, y mae eu defnyddio yn ormodol yn ffynnonell ffrydiol i wallgofrwydd.

Yn ganlynol, gwelwn fod y llestri dyddyfnawl wedi eu dodrefnu â nifer lluosog o ddorau, ac nis agorant ond yn unig un ffordd; ac ymddengys fod cysylltiad, neu berthynas neillduol rhyngddynt ag ymarferiad, neu ysgogiad gwahanol barthau y corff. Mae y dorau yma wedi eu gosod yn y fath fodd, fel nas gall yr hylyfiad fyned ond yn unig un ffordd. Pan fyddo y cyhyrau yn gweithredu, y mae hyny yn mynychu y gwasgiadau ar y llestri, yr hyn sydd yn gorfodi eu cynnwysiad i symud; ac am ei fod yn cael ei reoli gan y dorau, mae yn rhaid iddo yn mhob cyflwr symud tuag at y galon. Mae y fath ddarpariad o ddorau yn y gwythenau, ac y mae yn ffaith sefydledig, fod symudiadau y gwaed yn y *vena cava*, yn gydunol â symudiadau y ddwyfron; ac hefyd y mae symudiadau y ddwyfron yn cyfranu cynnorthwy sylweddol i symudiadau nydd-droedig y colyddion; trwy yr hyn y mae eu cynnwysiad yn cael ei symud;—oddiyma mae yr achos yn tarddu, fod pobl o arferiad eisteddol yn rhwym. Mae yn ddeddf mewn

natur, fod gweithrediad naturiol unrhyw beiriant yn y corff, yn cynyddu ei nerth a'i faintiolaeth, yn neillduol giau a'r cyhyrau. Ond y mae gwastraff yn dilyn ymarferiad. Eto, yn ei dro, y mae ymarferiad yn cenedlu grym bywiol a heinyf; yr hyn sydd yn alluog i adferu y gwastraff gyda llôg, os bydd yn gydfynedol â gorphwysdra cyfamserol. Os troseddir y rheol yma, a bod un heb gymeryd ymarferiad, ni bydd yn haner dyn; ac os gwna hyny yn ormodol, teimla fel pe byddai yn haner marw. Ni ddylai person gwan ymarferyd ond ychydig ar y cyntaf, ac ychwanegu fel byddo y peiriannau yn cynyddu mewn gallu. Ond fel diystyrwch ar y ddeddf yma, y mae pobl eisteddawl, gan feddwl clytio ychydig ar eu hesgeulusdod, ac yn nglyn a'u diymgelwch, a gipiant y dryll, neu yr enwair, ac wedi taith flinedig, a dychwelyd yn ol yn orwneuthuredig, achwynant fod ymarferiad yn eu gwneuthur yn waeth.

Effeithiau ymarferiad yw, treuliad cyflymach defnyddiau y corff, ac am hyny rhaid i weithrediad y sugnyddolion fwyhau, a chynnyrchu ychwaneg o waed; ac y mae symudiadau y galon a'r ysgyfaint yn bywiogi, a thrwy hyny rhaid i'r coluddion waghau; ac y mae y cylla yn galw am ddiwalliad adnewyddol o fwyd. Mae hyn yn ganlyniad naturiol, ag sydd yn deillio oddiwrth ymarferiad. Cawn fod egwyddor y grym bywiol, yn gyffelyb pan yn cyflawni y ddwy orchwyliaeth; sef symud y cyhyrau a'r gweithrediad meddyliol. Ceir hefyd fod swm y grym yn uniawn gyfartal i swm y defnyddiau cyfluniedig; gan hyny, pan fwyaf grymus fyddo y corff, felly hefyd bydd y meddwl.

Dywed Liebig, fod yr oll o'r gweithrediadau bywiol, yn ymddibynu ar gyd-gyfranogiad y surbair o'r awyrgylch âg elfenau yr ymborth; neu mewn geiriau ereill, fod telerau y bywyd yn ymddibynu ar ymborth, anadliad, ac ymarferiad. Ar y pen yma, y mae efrydwyr

yn aml yn camsynied; a thrwy hyny, yn cauad eu hunain yn mysg eu llyfrau, fel pe byddai y meddwl heb yr un cysylltiad rhyngddo a'r corff. Y mae rhai yn meddwl, ond iddynt leihau eu hymborth dyddiol, eu bod yn cyflawni holl ofynion natur. Os gwna digonedd o ymborth rwystro y grym bywiol perthynol i'r gyfundraeth feddyliol; yr un modd y gwna y gallu o lafurio. Ac os gwna digonedd o ymborth gynnyddu y gallu llafuriol; felly gwna hefyd y gallu meddyliol. Am hyny, nid yw yn beth hynod fod cymaint o'r efrydwyr newynllyd yn y colegau, yn myned yn wallgof, ac yn analluog i lesoli dynolryw, a bod y byd yn gorfod edrych yn mysg y llafurwyr a'r crefftwyr, (o ba fanau mae y rhan fwyaf o'r meddyliau galluog wedi deilliaw) am gynhaliaeth gwybodaeth a dysgeidiaeth.

Mae y rheol ganlynol yn tarddu fel canlyniad naturiol oddiwrth y gosodiadau blaenorol; sef, na ddylid byth dynu i lawr yr ymborth i gydymateb ag ymarferiad; ond bob amser, cyfodi ymarferiad i gydymateb ag ymborth, neu luniaeth naturiol. Ac fel y dywed yr enwog Abernethy—Cofio mai y swm a dreulir, ac nid y swm a fwyteir, yw yr hyn sydd yn cynnal y corff.

## Y GYFUNDRAETH YMGARTHIOL (*EXCRETORY SYSTEM.*)

Y gyfundraeth hon sydd wedi ei harfaethu i gludo ymaith y sylweddau diles a heintiol o'r cyfansoddiad. Goruchwyliaeth hon hefyd yw gwylied pa un a fydd rhyw elyn neu elynion gormesol wedi dyfod i mewn; ac os bydd, eu gyru allan drwy y drysau cefn, ac nid fel y Thomsoniaid, trwy y *front*.

Yr arenau sydd wedi eu darparu gogyfer a dilwytho y corff o fath o halen, a phethau anghymhwys ereill, yn

gystal a gweddill o'r hylifoedd y bydd y corff yn eu derbyn, y rhai na allant fyned ymaith trwy y croen.

Gweithrediad y croen sydd wedi ei fwriadu i reoleiddio graddau gwres y corff, yn ol amrywiol dymherau yr awyrgylch. Ac y mae gweithrediad yr arenau yn ol mesur yr hylifoedd. Mae cysylltiad agos rhwng y peiriannau hyn; pan fyddo gweithrediad y croen wedi ei atal yn ddisymwth, mae gorchwyliaeth yr arenau yn cynnyddu, ac os na symudir yr anhwyldeb, gall derfynu yn y dyfrlif.

Y nesaf yw yr afu, yr hwn sydd yn derbyn mesur mawr o'r gwaed gwythenog, ac y mae yn didoli o hono y geri, yr hwn yw un o'r prif sylweddau sydd yn rheoleiddio ymgarthiadau y coluddion; ac y mae yn ffaith, a brofwyd yn fynych, y gwna creaduriaid, wedi cylymu côd y geri, drengu gan rwymedd. Dywed Liebig fod y geri yn cynnwys llawer o greisin, pa un sydd yn cael ei sugno gan y coluddion, a'i dreulio, i'r dyben o gynnyrchu gwres. Mewn rhai amgylchiadau, pan mae gweithrediad yr afu yn farwaidd, a thrwy hyny ddim yn cyflawni ei ddyledswydd, sef, didoli y geri o'r gwaed, mae y geri yn cael ei gludo trwy gylchrediad y gwaed, a'i daenu yn mhob man trwy y cyfansoddiad. Yn y cyflwr hwnw, mae rhai yn anturio cymeryd peleni Brandreth, neu ryw beleni llawn mor niweidiol, nes y byddant wedi ymgarthu eu hunain agos i farwolaeth; ac wedi yr holl amryfusedd, bydd yr achos heb ei gyffwrdd. Ond y mae natur weithiau yn trechu y peleni a'r anhwyldeb, ac yn adferu gweithrediad yr afu; ac yn aml y peleni sydd yn cael y clod. Yn fynych mae y meddyg yn cael ei alw i gymeryd cyfrifoldeb rhwygiadau angeuol ag y bydd y peleni wedi eu hachosi yn y cyfansoddiad. Mae ymysgaroedd y cyfryw ag ydynt yn arfer cymeryd llawer o beleni carthiadol, bob amser yn rhwym, a thrwy hyny y maent yn ymgyrchu am ychwaneg o'r

cyffyr holl-iachaol; ac y mae y gweithrediad annaturiol hwn ar y coluddion wedi eu gwanhau i'r fath raddau, fel nad oes dim yn myned trwyddynt yn naturiol. Yn y cyflwr yma eto peleni yw pob peth, ac eilwaith cymerir hwy gyda y gobaith cadarnaf, nes yw natur yn myned wanach wanach; ac yn ebrwydd bydd *Morrison's Pills* yn fuddugoliaethus, a'r hen gorff yn cael ei ddychwelyd i'w elfenau cyntefig.

Mae y croen yn un o'r peiriannau ymgarthiol, ac o'r pwys mwyaf yn y gyfundrefn gorfforol, a'r mwyaf pwysig yn ei weithrediad; a dylai gael mwy o sylw meddygon. Syr C. Bell, wrth sylwi mewn perthynas i'r croen, a ddywed,—'Mae cymaint o bwys yn ei swyddogaeth, ac y mae ei weithrediad iachus agos yn gyfatebol i weithrediad yr ysgyfaint ac arwyneb y coluddion.' Mae anian, megys â'i bys, yn cyfeirio at y gamlas feithrinol a'r croen, fel dau beth ag ydynt yn fwyaf neillduol yn gofyn gofal a goruchwyliaeth dyn, yn glaf ac yn iach. Mae y croen yn gyfansoddedig o dair haen, neu dri phlyg. Y cyntaf, neu y nesaf allan, yw y glasgroen (*cuticle.*) Y mae hwn yn ddideimlad, a hwn hefyd fydd yn pothellu ac yn pilio ymaith oddiar y traed a'r dwylaw. Y mae yn hynod o deneu a thryloyw. Yr ail yw y rhwydwaith llysnafeddog (*rete mucosum.*) Yn yr haen yma y mae y sylwedd lliwiog, neu yr hyn sydd yn rhoddi y gwahanol liwiau i'r gwahanol genhedloedd. Y mae yn dewach fel y mae y lliw yn dywyllach, ac yn hynod o dew yn y Negro. Trwy ymchwyliad, cafwyd fod rhyw berthynas rhwng hwn â sugnedd mwshedion a gwenwyn heintiol. Pan mae yn dew a thywyll, mae yn amddiffynfa rhagddynt. Yn drydydd, ac yn nesaf at hwn, mae y gwir groen (*cutis vera.*) Mae hwn yn femrwn tew ac adlamol, yn llawn o giau a llestri gwaed, wedi eu gwasgaru yn hynod o fân a lluosog, a miloedd o gibynau (*follicles*)

yn daenedig ar hyd-ddo; ac y mae rhai o honynt yn didoli y blew, a rhai mathau o olew, tuag at ireiddio y croen; ac hefyd nifer lluosog o gylchwyrnau (*glands*,) pa rai sydd yn didoli y chwys, ac y mae iddynt fynedfa allan trwy y ddau groen arall; a thrwy chwydd-wydr gwelir fod y mynedfeydd yma yn cymeryd rhedfa ddolenog i gyrhaeddyd y glasgroen, ac y mae y pen agosaf allan yn lleihau yn raddol nes ydynt yn hynod o benfain, ac yn terfynu mewn agoriadau bychain a elwir chwysdyllau. Mae y ffurfiad penfain yma yn mhibellau y chwys yn briodol iawn, pan ystyrir mai hwy sydd yn rheoleiddio tymheredd y corff; a phan ddeallir fod yn angenrheidiol i swm y chwys gael ei leihau, neu ei gynyddu, yn ol cyfnewidiad tymheredd y corff, a bod ystwythder y croen a'r glasgroen yn cael effaith deimladol arnynt, canfyddir dyben a gweithrediad y pibellau pigfain wrth eu dull yn dolenu. Mae hyny yn eu gwneuthur yn hŵy, ac felly mae eu harwyneb yn fwy, a thrwy hyny mae eu gallu crynhoawl yn fwy, a'u grym yn fwy, wedi i oerni effeithio crynhoad i'r dyben o atal didoliad y chwys, ac hefyd atal gwres y corff rhag chwysdarthu allan. Mae gwres yn llacâu y pibellau yma, a'r pryd hyny mae chwysdarthiad yn cymeryd lle, ac felly yn amrywio tymheredd y corff yn unweddusach nag y gellid gwneuthur hyny mewn un modd arall. Yma canfyddir fod y llestri chwysiadol yn syml, eto yn effeithiol ddorau diogelwch. Y mae yn ei gludo allan trwy y dorau hyn agos i ddwy ran o dair o anmhuredd y corff. Yr ydys wedi profi, drwy ymchwiliad, fod cyfartaledd y chwysdarthiad oddeutu dauddeg neu ddauddeg-pedair wns yn y dauddeg-pedair o oriau. Canfyddir wrth hyn yr achos fod ataliad y chwysdarth yn profi mor anffodus a niweidiol. Ond nid hyny yw y cwbl; mae y chwysdarth yn neillduol yn cyflawni un gorchwyl pwysfawr. Er esiampl, mae

yn wybyddus i bawb fod dwfr, wedi ei daflu ar ryw ddefnydd poeth, yn cyfodi yn darth, ac yn cludo ymaith y gwres yn gyflym. Hylifoedd, tarth, a *gases*, a raid gyd-ymuno â gwres yn gyfatebol i'w teneudra; hyny yw, mwyaf o wres fyddo ynddynt, teneuaf fyddant. Bod tarth yn cludo ymaith wres o ddefnydd, hyd oni byddo yn cael ei leihau i dymheredd y cyfrwng amgylchynol, nid yw yn beth hynod; ond parhau iddei gludo ymaith oddiar arwyneb llestr mân-dyllog, hyd oni byddo yr hylifoedd oddi mewn, ar ddiwrnod poeth, yn gydradd â dwfr iâ, sydd yn dangos priodoledd ryfeddol. Mae hyn yn agoriad cyflawn i ddynsoddiaeth y chwysdarthiad. Pan fyddo y chwysdyllau wedi cau, mae gwres yn casglu yn y corff, a bydd yn fuan mewn cyflwr twymynaidd; ac yn y cyflwr hwn y mae yn cadw i mewn y sylwedd difudd a heintus, fel y mae maethiad, a threuliad bwyd, yn cael eu hatal. Pan fyddo y gyfundraeth groenawl yn ymlaesol, y corff yn wanychlyd, ac ond ychydig o waed yn cyrhaedd yr arwyneb, mae y chwysdarth yn cynhyrchu oerni iasol. Gelwir hyn *y chwys oer*, neu, *y chwys marw*. Ac yn wir, mae yn gyflwr tost ac annymunol i fod ynddo; ond y mae yn fath gyflwr ag y mae rhai meddygon yn ei dueddu, ac hyd yn nod yn ei gynhyrchu, wrth ddarostwng galluoedd y cyfansoddiad, trwy waedu, &c., eu goddefwyr, wrth geisio dystrywio twymynau.

Mewn cyflwr iachusol, a llonyddwch, a gorphwysder cyffredin, nid yw y didoliad croenawl yn deimladwy ac amlwg. Gelwir hyn *y chwysdarth annheimladwy*. Dyma ddarlun o bwynt y fantol, lle mae uniawn ddigon o wres i gadw yr arwyneb yn ddigon sych, ac uniawn ddigon o leithder i gadw yr arwyneb yn ddigon oer. Os aflonyddir y cydbwys ar un llaw, os cyfodir neu os darostyngir y gweithrediadau bywiol, cawn mewn un cyflwr chwys oer, ac yn y cyflwr arall chwys twymn.

Mae y cyflwr diweddaf wedi ei ddarparu yn odidog i fantoli y gwres a achosir gan gynyddiad tymheredd yr hinsawdd, neu ymarferiad. Mae agos i bawb sydd wedi profi gorthrymder diwrnod poeth, wrth ddechreu ar waith gyda chroen sych, ac wedi hyny yr esmwythder boddhaol a deimlir wedi i chwys teimladwy dori allan, wedi ei lwyr argyhoeddi mewn perthynas i bwysfawrogrwydd gweithrediad y croen. Y tarth sydd yn cludo ymaith y gorddigonedd o wres. Hyn sydd yn galluogi trigolion y poethgylch i oddef haul uchbenol, ac eto bod tymheredd eu cyrff heb fod yn fwy na thrigolion Greenland. Hyn sydd yn galluogi rhai i aros mewn lle fydd yn ddigon poeth i rostio cig; ac hefyd y rheswm fod Chabert, brenin y tân, yn medru myned i ffwrn 600 gradd o boethder—agos dair gwaith can boethed a dwfr berwedig. Ac ar y llaw arall, lleihad y chwysdarthiad sydd fel un achos yn ein galluogi i oddef oerni yn y gauaf. Pe byddem yn chwysu mor helaeth a phobl y cyhydedd, byddem farw yn ein lledred tymherus ni. Pan y mae gan y corff y gallu o genhedlu gwres yn y canol, mae ganddo hefyd y gallu o genhedlu oeredd yn yr arwyneb. Ond dylid nodi nad yw yn cael ei gyflawni yn hollol gan y croen.

Mae tarthiad yr ysgyfaint yn gyffelyb ag y mae trosglwyddiad o'r gyfundraeth groenawl i'r ysgyfeinawl (o ba un y mae y ffroenau, y parth ol i'r safn, a'r pibellau sydd yn myned i'r ysgyfaint, yn rhan) yn aml yn cymeryd lle. Dyma yr achos o'r ystrewian, y crugni, a'r peswch-boeriad, sydd yn dilyn anwyd. Mae rhai anifeiliaid ysgig, megis cwn, &c., heb fod yn chwysu trwy eu croen; ac ar hin boeth gwelir hwy yn dyheuad, a chwys yn dyferu oddiwrth eu tafodau. Mae y berthynas yma sydd rhwng y croen a'r ysgyfaint, ac yn effaith y berthynas sydd rhyngddo a'r holl gorff,

yn agoriad i'r dirgelwch hwnw, sef diogeliad yr iechyd. Wele yma yn ysgrifenedig yn nghyfrol natur yr ammodau godidog perthynol i'r bywyd, ac os gwneir yn unol â'r ammodau hyn, a gochelyd anwyd—yr achos cynhyrfiol hwnw o gymaint o afiechyd;—neu os ei cymerir yn anocheladwy, ei ragflaenu trwy adferu y chwysdarthiad, diamheu y byddai dynolryw yn rhydd oddiwrth y rhan fwyaf o afiechyd ag y maent yn ei oddef yn bresennol.

Gwelir oddiwrth yr hyn a ddywedwyd, fod mwy o wres yn dumewnol nag sydd yn allanol. Mae hyny o bwys mawr i'r gyfundraeth gylchredol, ac y mae y gwahaniaeth yn cael ei effeithio trwy neu gan y chwysdarthiad. Felly hefyd y mae cyfartalrwydd y cylchrediad yn cael ei effeithio trwy gyfartalrwydd y chwysdarthiad. Gwybyddwyd i ataliad disymwth y chwysdarth, wrth gerdded yn draed-noethion yn yr eira, gynhyrchu disymwth ac angerddol dywalltiad gwaed i'r pen. Os bydd i berson ddynoethi rhan o'i gorff i'r oerfel, neu ffrwd o wynt, trwy ddrws neu ffenestr, byddai yn llawer mwy tebygol o gael anwyd na phe byddai yn dynoethi ei holl gorff i'r gwynt oddi allan. Ac wrth wlychu dim ond y traed yn unig, byddai mewn mwy o berygl nag wrth wlychu yr holl gorff, er y byddai yn colli mwy o wres trwy y diweddaf. Yr achos yw hyn: pan fyddo y chwysdarthiad yn cael ei atal yn gyfartal, mae mantol y cylchrediad yn cael ei gynnal yn ei le; ond pan fyddo yn annghyfartal, bydd wedi ei aflonyddu, ac afiechyd fydd y canlyniad. Ond cofier nad yw atal y chwysdarth ddim yr un peth a'i atal yn hollol a sefydlog. Yr anadliad, fel y nodwyd o'r blaen, yw prif gynnyrch y gwres yn y corff, trwy ymuno gyda y creisin sydd yn y gwaed. Cynghawsedd y croen wrth ridiaw a tharthu sydd yn ei reoleiddio, yn atal iddo yn yr haf ddyrchafu uwchlaw y gosodiad

naturiol, trwy arllwysiad helaeth, ac yn y gauaf hyny yn cael ei leihau; felly yn gadael iddo gyfodi at y pwynt hyny. Mae pob un wedi profi y teimlad tra dymunol a achosir gan awel o wynt, naturiol neu wneuthuredig, yn myned tros y croen, yn nghanol gwres lluddedig yr haf. Bydd tymheredd yr awel yn gyfatebol â dystawrwydd yr awyr amgylchynol. Ac y mae yr effaith oeraidd i'w briodoli i gynyddiad y tarthiad oddiar y croen, ac i'r gwres yn cael ei gludo ymaith yn fwy cyflym oddiar arwyneb y croen.

Oddiwrth yr hyn a nodwyd, gwelir yr angenrheidrwydd o wneuthur pob ymdrech i adferu y chwysdarth pan fyddo wedi ei rwystro; ac y mae meddygon sydd yn deall natur a gweithrediadau y corff, yn gweinyddu moddion i effeithio hyny, fel pe hyny yn unig fyddai eu holl ddyledswydd, gan orchymyn golchi y croen, &c., gydag arfer moddion tumewnol.

Yma y gwelir yr angenrheidrwydd i faddio a golchi y croen. Mae croen glân mor angenrheidiol i iechyd ag yw ymborth i gynnal bywyd. Dylai fod yn mhob tŷ le hwylus i faddio. Baddon ager sydd hynod o lesol, ac hefyd baddon dwymn, a baddon oer i'r neb y mae yn cyduno. Os bydd baddon oer yn ddilynedig â rhyndod hir-barhaol, yn lle gwresogrwydd buan, ni ddylai y cyfryw ag y mae yn effeithio felly arnynt arfer baddon oer. Mae yn angenrheidiol i chwysdyllau y croen gael eu cadw yn agored, a dorau diogelwch fod yn ddirwystr, onide, y mae y peirianwaith mewn perygl.

Mae i'r croen hefyd y briodoledd o sugno i mewn, heblaw bwrw allan. Dywed Paracelsus ei fod yn llyngcu neu yn sugno i'r fath raddau, fel ei fod ef wedi cadw bywyd mewn goddefwyr gyda baddon llaeth. Mae y croen yn sugno yn gyflymach pan mewn cyflwr chwysiadol. Yn y memrynau meiddiog, ag

ydynt yn gwrthleinio ceudodau y corff, mae y sugnyddiaeth a'r tarthiad yn gydbwys. Pan fyddo y cydbwys wedi ei gythryblu, ceir enyniad mewn un achos, a dyfrglwyf yn y llall. Mae y coluddion wedi eu cynllunio i sugno mwy nag y maent yn fwrw allan, a'r croen yn bwrw allan fwy nag y mae yn sugno. Mae y croen yn sugno *mercury*, a phob math o wenwyn fydd mewn cyffyrddiad ag ef; ac y mae y cyfryw yn cynnyrchu yr un effeithiau a phe byddent yn cael eu cymeryd yn dumewnol; ac am hyny ni ddylai y croen byth gael ei ddynoethi i sylweddau gwenwynig, ac ni ddylai y sylwedd chwysiadol byth gael ei oddef i gasglu arno. Mae glanweithdra yn ddeddf nefoedd a daear. Mae cysylltiad agos rhwng dilladaeth a'r chwysdarthiad. Hyn a ddylai gael ei reoleiddio yn ol cyfnewidiad yr hin, fel ag i ochelyd oeri. Cofier a chadwer y rheol yma, mae bywyd yn ymddibynu arni; sef, peidio byth goddef gormod o oerni. Mae gwisgo gwlanen yn nesaf at y croen yn ddaioni rhagorol; mae yn ei gynhyrfu i weithredu, ac hefyd yn sugno y chwysdarth, ac yn cadw y gwres yn rheolaidd. Dywed y Dr. Combe, dynsoddwr enwog, ei fod yn meddwl iddo achub ei hun oddiwrth y darfodedigaeth ysgyfeinaidd wrth arferyd gwlanen, a thalu ystyriaeth ddyledus i'r croen; ac y mae yn sicr y gall fod yn foddion i achub miloedd. Dylid gwisgo gwlanen yn yr hinsawdd yma yn gynar yn yr hydref, a'i thynu ymaith yn ddiweddar yn y gwanwyn; a dylai rhai wisgo gwlanen trwy y flwyddyn.

Mae merched ieuaingc yn cael eu cyhuddo yn aml o wisgo esgidiau teneuon, a dynoethi eu hunain mewn llawer ffordd i'r tywydd, mewn gwisgoedd hollol anghymhwys. Yr oedd hyn unwaith yn wirionedd; ond yn bresenol y maent wedi dysgu dynsoddiaeth, ac yn gochelyd hyn, pob un synwyrlawn beth bynag.

Rhaid peidio byth ofni un diwygiad; mae profiad wedi awgrymu hyny. Dylem gofio bod ein tadau wedi deilliaw oddiwrth genedl anwaraidd; a phan feddyliom am draed bychain merched China, a phenau gwastad yr Indiaid Gorllewinol, a mein-gorff merched America; a phan edrychom ar blentyn bach yn estyn allan ei freichiau noethion ar ddiwrnod oer yn y gauaf, a'i lewys wedi eu tori ymaith wrth ei ysgwydd, mae y cwbl yn ein cyfeirio at weddillion anwybodaeth a phaganiaeth.

## NATUR AC ACHOS AFIECHYD.

---

Mae athrawiaeth afiechyd, yn ei natur, a'r achos o hono, wedi bod yn destyn dadl yn mhob oes o'r byd. Mae mil a mwy o wahanol achosion wedi eu priodoli i afiechyd, a chymaint a hyny o wahanol gynlluniau i'w wellhau; ac nid yw y ddadl y dydd hwn wedi ei phenderfynu, nac yn fwy dealladwy nag oedd yn yr oesoedd a aethant heibio. Nid yw o un buddioldeb eu trin, ond can belled ag y maent yn ymyraeth âg egwyddor, neu yn gwrthdroi ymarferiad feddygol gywir. Mae athrawiaethau yn ddiddrwg tra na byddant yn arwain i gylchdriniaeth niweidiol. Ond pan fyddont yn arwain i driniaeth ac ymarferiad gyfeiliornus, mae yn ddyledswydd arbenig eu gwrthsefyll hwy yn gadarn.

Cawn yn bresenol ymholi i natur afiechyd, a gosod i lawr y fath egwyddorion ag a arweiniant i driniaeth effeithiol. Ac nid rhaid ond yn unig ganlyn llwybr syml gwirionedd, rheswm, a natur.

*Yr ymgartholion* ydynt yr unig ollyngfäau i fwrw afiechyd allan o'r corff. Mae Creawdwr ein bodoliaeth wedi sefydlu deddfau yn ein cyrff i warchod ac i amddiffyn yn erbyn ymgyrch afiechyd; a phan fyddo wedi ffurfio, ei symud ymaith. Wrth y deddfau yma yr ydys yn deall, cynhenid allu yn y gyfundraeth ddynol i fwrw ymaith bob peth estronol a niweidiol; neu y fath gynghawsedd ag sydd yn dwyn oddi amgylch weithrediad iachus ar gyfundraeth afiachus. Yn bresenol cawn ymholi pa fodd y mae hyn yn cael ei

gyflawni. Wrth roddi ychydig ystyriaeth ar y gyfundraeth, ymddengys fod *ymgartholion* y gyfundraeth wedi eu hamcanu yn arbenigol i gludo ymaith bob peth a ddelir ag sydd yn annghymmodawl ag iechyd. Pan fyddo yr ymgartholion hyn yn cyflawni eu gweinidogaeth, gellir dyweyd fod y person yn iach; ond pan fyddont wedi ymatal yn eu gweithrediad, neu yn gweithredu yn anmherffaith, mae sylwedd heintiol yn cael ei gadw yn y corff, ac anhwyldeb fydd y canlyniad. Bydd yn achosi cyffroad; ac os na bydd yn cael ei symud gyda y didoliodau, bydd enyniad a chrawnaddfediad yn dilyn.

Wele yn ganlynol ddysgrifiad byr o'r gwahanol ymgartholion, eu swyddogaeth, a'r canlyniadau sydd yn cyfodi o achos eu rhwystriadau.

Yn gyntaf, y *croen*. Mae yr holl gorff wedi ei orchuddio neu ei amwysgo gyda y memrwn hwn, yn mha un y mae aneirif chwysdyllau, neu agoriadau. wedi eu bwriadu i gludo ymaith bob peth ag sydd heb fod yn iachusol, neu yn gymmodawl âg ansawdd iachusol y cyfangorff. Fel y crybwyllwyd o'r blaen, y chwys, neu y gwlybwr ag sydd yn myned allan trwy y croen, a wahaniaethir, yn chwys *teimladwy* ac *anheimladwy*. Wrth edrych ar unrhyw barth o'r corff, yn nghyfnod yr haf, yn enwedig trwy chwyddwydr, gwelir tarth neu ager yn cyfodi fel cwmwl, yr hwn sydd, pan ddelo mewn cyffyrddiad â'r awyr, yn tewychu, ac yn disgyn i lawr mewn ffurf o ddyferion, yr hyn a elwir *chwys teimladwy*. Pan fydd hyn yn cael ei gadw i fynu, neu yn parhau i ddyfod allan, mae y gwaed yn bur, ac y mae yr anmhuredd yn y modd hyny yn cael oi wahanu a'i fwrw allan. Ond pan fyddo y chwysdarth yn cael ei atal, gan oerfel, neu achos arall, mae y gorlifoedd yn aros yn y corff, ac yn cael ei gludo i'r cylchrediad, ac felly yn sefydlu ar ryw beiriant

ag sydd fwyaf rhagdueddol i afiechyd, ac yn dyfod yn achos cynhyrfiad.

Mae prawfiadau dyddiol yn ein darbwyllo, fod, y mynyd y byddo y chwysdyllau i raddau yn gauad, anhwyldeb cyffredinol yn dilyn; ac y mae y teimlad yn y parthau lle y mae y chwysdarth yn cael oi adael gan y cylchrediad, yn debyg fel pe byddai nodwyddau, neu ryw sylwedd estronol, yn ei bigo. Dyma yr achos penaf o'r cynhyrfiad a'r boen a deimlir mewn enyniad a thwymyn. Bydd y sylwedd chwysiadol yn cael ei drosglwyddo i'r ysgyfaint, yr ymenydd, yr arenau, a pheiriannau ereill, ac felly yn creu enyniad a phoen; neu gall aros yn y gwaed, ac achosi twymyn. Mae hyn yn cael ei brofi yn eglur yn yr heintiau tarddiadol, megys y frech wen, y frech goch, &c. Mae y llwgr, neu yr haint, yn cael ei gymeryd i'r gwaed trwy gyfrwng yr ysgyfaint; a phan fyddo wedi cynnyddu, a gorlenwi y corff, mae natur yn cyffroi, ac yn gwneuthur ymdrech i fwrw y gwenwyn allan o'r gyfundraeth; ac mor fuan ag y bydd wedi cyflawni hyny, mae y gwenwyn yn yr anhwylderau tarddiadol yn cael ei fwrw i'r arwyneb; a phan fydd fel hyn wedi ei fwrw, mae y dwymyn rhagllaw yn gostegu. Ond weithiau mae y gwenwyn yn syrthio i mewn, ac y mae y dwymyn yn ail ymddangos, fel y mae pob un agos yn gwybod. Dyma yr achos o'r dwymyn ag sydd yn dilyn y darfodedigaeth ysgyfeinaidd, a elwir y dwymyn wastadol *(hectic fever.)* Crawn o'r ysgyfaint sydd yn cael ei gymeryd i'r cylchrediad, ac yn achosi anfoddogiad a chynhyrfiad twymynaidd; ac y mae hyn yn cael ei brofi trwy derfyniad twymyn mewn chwys, ac anafau twymynaidd *(fever sores.)* Mae y ffeithiau hyn yn cael eu harddangos mor eglur a chywir, fel y mae yn syndod fod neb ag sydd yn gwybod dim, neu o'r hyn lleiaf am dwymyn, yn anwybodol o'i natur, ei hachos,

a'i thriniaeth; a'r un modd pob afiechyd. Mae yn ddiamheuol y gall casgliad gormodol neu annaturiol o waed i unrhyw barth, fod yn achos cynorthwyol i anfoddogiad; ond oddiwrth amrywiol brawfiadau, gellir gweled nad yw casgliad o waed yn unig i unrhyw beiriant corfforol i'w gyfrif yn ddigonol argoel o afiechyd. Ond ceir sylwi yn mhellach ar hyn mewn man arall.

Mae yn wybyddus hefyd fod twymynau, enyniadau, ac amrywiol anhwylderau, yn dilyn ataliad y chwysdarth yn ddigyfrwng. Profodd Sanctorius fod dwy ran o dair o'r gwlybyroedd sydd yn myned i mewn i'r corff yn myned allan trwy y chwysdyllau. Mae hyny yn dangos y perygl sydd yn cyfodi pan fyddo y cyfryw wlybyroedd yn cael eu cadw oddimewn i'r corff. Mae holl arwyneb croen y corff dynol, i fesur, yn beiriant gwyntiedig, ac y mae yn gwyntio allan yn barhaus darth, a hwnw yn llwythog gan ddefnydd heintus ac ysgarthiol, ac yn cael ei ddal mewn ffurf awyraidd gan y gwres sydd yn deilliaw o'r corff. Yr ymgarth yma, os ei cedwir, sydd yn gorlwytho yr ymgartholion ereill i'r fath raddau, nes ydyw yn achosi afiechyd; ac os bydd yn aros ar arwyneb y croen, mae yn dychwelyd trwy y sugnyddolion i'r cylchrediad, ac yn effeithio fel gwenwyn yn y gyfundraeth. Mynych, os nad dyddiol ymolchiadau, sydd yn angenrheidiol i gadw mewn cyflwr iachusol y fath beiriant pwysfawr yn y corff dynol. Mae y sylwedd chwysiadol sydd yn cael ei fwrw allan i'r arwyneb yn cynnwys *carbonic acid gas*, a gall fod yn achos cynhyrfiol o anfoddogiad, twymyn, a llawer math o afiechyd arall. Pob person ag sydd ganddo y wybodaeth leiaf am natur dynsoddiaeth, a all ganfod fod rhwystriadau y peiriant croenawl yn ddilynedig âg ymadawiad yr iechyd.

Yn ail, *Yr ymysgaroedd*, neu *y coluddion*. Mae y

coluddion wedi eu cyfaddasu gan anian i gludo ymaith lawer o bethau adwythig a niweidiol o'r corff, ag sydd heb fod yn gweinyddu cynhorthwy i iechyd a maethiad. Ac nis gall fod yn wahanol, pan fydd y fath swm o sylwedd estronol a gwaddodlyd yn gorwedd yn y corff, ac felly yn cael ei sugno a'i drosglwyddo i bob cyfran o hono. Y sawrhedion sydd yn cyfodi wedi gweinyddu carthbair, sydd brawf eglur o natur niweidiol ymgarthion ataliedig. Natur, gan hyny, sydd weithiau yn cynnyrchu darymred, i'r dyben o yru ymaith afiechyd trwy y coluddion.

Yn drydydd, *Yr arenau.* Mae y lleisw, yr hwn sydd ymgarth arall ag sydd yn gwaredu y corff rhag cael ei anrheithio gan sylweddau estronaidd a heintiol, yn cael ei ddidol o'r gwaed trwy gyfrwng yr arenau. Pan atelir yr ymgarth hwn, neu pan na byddo yr arenau yn cyflawni eu galwedigaeth yn gyflawn, mae rhyw sylwedd adwythig yn aros, ac yn cymmysgu â'r gwlybwr cylchredol, ac yn profi y ffynhonell o ba le y mae yn tarddu trwy gynnyrchu anhwylderau, megys y dyfrglwyf, enyniad yr arenau, a pha faint o anhwylderau ereill, sydd anhawdd penderfynu. Mae pob meddyg yn gwybod fod afiechyd weithiau yn cael ei gludo ymaith trwy arllwysiad helaeth o leisw. Yr effeithiau sydd yn cyfodi oddiwrth ataliad y lleisw sydd yn nodi allan y dyben yr arfaethwyd ef.

Yn bedwerydd, *Y cylla.* Y cylla sydd beiriant arall ag sydd yn bwrw ymaith sylweddau heintiol. Pan fyddo wedi cael ei ormesu gan ormodedd, neu wedi derbyn un peth gwenwynol neu beryglus i'r cyfansoddiad, neu pan fyddo gwlybwr halogedig wedi cael ei dywallt iddo, neu pan fyddo wedi myned yn afiachus neu glwyfus trwy ryw achos neu gilydd, bydd yr ysgogiadau nydd-dröedig, neu y symudiadau rheolaidd, yn cael eu gwrthdroi, a chyfogiod a ddechreua, a

chynnwysiad y cylla a arllwysir; a phan y byddo ansawdd iachusol y cylla wedi ei adferu, iechyd fydd y canlyniad. Felly canfyddir fod y peiriant wedi ei arfaethu i fwrw ymaith sylweddau niweidiol, ac yn cyflawni ymgarth tra phwysfawr ac angenrheidiol.

Yn bummed, *Yr ysgyfaint*. Mae yr ysgyfaint yn beiriant arall sydd yn gweinyddu y gorchwyl o ddidol o'r gwaed sylweddau gwrthwyneblyd. Maent nid yn unig yn bwrw ymaith *carbonic acid gas*, ond hefyd lysnafedd; a phan fyddont wedi myned yn glwyfus, yn fwyaf neillduol, maent yn bwrw ymaith grawn, yr hyn, pe ei atelid, a achosai fygiad. Oddiyma gwelwn, mewn afiechyd ysgyfeinaidd, ymdrech natur i effeithio iachâd trwy gyfrwng yr ysgyfaint.

Yn gymaint a bod yn ymddibynu ar yr oll a'r cwbl o'r rhai hyn gyflawni eu gwahanol alwedigaethau; o ganlyniad, os bydd un yn myned yn farwaidd, neu yn atal cyflawni ei ddyledswydd, cynhyrfiad heintiol fydd y canlyniad. Hyn yw yr achos penaf o'r rhan fwyaf o afiechyd; dim yn fwy na llai nag ataliad y sylwedd chwysiadol heintiol, ac felly yn cynnyrchu anfoddogiad, gweithrediadau heintus, a phellhad oddiwrth iechyd. Mae y tu hwnt i bob amheuaeth, fod y gorlifoedd yn cael eu cymeryd i mewn i'r cyfansoddiad trwy gyfrwng yr awyr, yr ymborth, a'r ddiod. Mae yr awyr a anadlir yn dychwelyd yn ol yn llwythog gan darth dyfrllyd, a chyfrifir yn gyfanswm oddeutu dauddeg wns yn ddyddiol. Oddiwrth hyn, gwelir yr effaith niweidiol sydd yn deilliaw oddiwrth yr atalfa. Er hyny, mae yr arwyddion cyffredin yn hynod o amrywiol; eithr nid yw hyn yn ddyledus i'r achos cynhyrfiol, ond i neillduol adeilad neu ddefnydd y peiriant lle byddo eisteddfod yr afiechyd. Medd y Dr. Beach, wrth sylwi ar y pen yma,—"Gwelais yn ddiweddar waith Ffrengig sydd yn cadarnhau y golygiadau hyn. Dywed yr awdwr, 'Os

bydd y gwlybwr (yn meddwl y sylwedd chwysiadol) yn cael ei atal neu ei leihau gryn lawer, a thrwy hyny yn cael ei drosglwyddo i ryw ran tumewnol, mae yn rhaid iddo achosi rhyw anhwyldeb peryglus.'" Ac y mae yn ffaith mai hyn yw un o'r achosion amlaf o bob math o afiechyd.

## SYMUDIAD AFIECHYD TRWY YMDRECH NATUR YN ALLUADWY.

Llawer o awduron, yn enwedig yr hynafiaid, a ysgrifenasant lawer ar alluoedd natur yn symud afiechyd. Yr oeddynt yn arferol o enwi hyny, *vis mediatrix naturæ;* neu ryw egwyddor gynhenid yn y gyfundraeth i fwrw ymaith bob peth niweidiol, estronol, ac afiachus. Mae rhai yn gwadu nad oes y fath allu yn bodoli, pan y mae y rhan fwyaf yn addef hyny, ac yn ei enwi yn wrthweithrediad (*reaction*,) pa un a ellir ei ystyried yn enw priodol. Ei fod yn bodoli sydd eglur i bob person sydd ganddo yr adnabyddiaeth leiaf o'r drefnidedd gorfforol. Dywed Townsend, yn ei GUIDE TO HEALTH, mewn perthynas i hyny, fel y canlyn:— 'Mae ymdrech natur i esmwythâu ei hun wedi bod trwy yr holl oesau yn rhagfasnach y meddwl. Nid fy nyben ar hyn o bryd yw arwain yr efrydydd i mewn i Archæus Van Helmont; ond traethaf am rai ffeithiau a roddant ddrych-olwg lled gywir ar yr ymdrechiadau a all natur gynnyrchu pan fyddo yn ymroddi i gadw ymaith y drwg ymosodawl, a symud beth bynag fyddo yn cythryblu ei threfnidedd a'i chyflawniadau, ac adgyweirio y niweidiad a fyddo y gyfundraeth wedi ei dderbyn.' Wedi taenu *Spanish flies (cantharides,)* yn gymrwd, a'i gymhwyso at y croen, y peth cyntaf fydd iddynt gynhyrfu fydd gwres hilbair, gydag enyniad y croen. Bydd yn dilyn hyny deimlad llosgedig; ac wedi

cael ei haflonyddu felly, mae yn dechreu gweithio rhagllaw, mae yn gwahanu y glasgroen, yn ffurfio côd, ac yn llenwi hono â gwlybwr, fel y byddo rhwng y sylwedd atgas a'r gïau, neu beiriannau teimlad. Wedi hyny mae yn darparu glasgroen newydd, fel, pan fyddo y blaenorol a'r sylwedd ymlynol wedi myned ymaith, y byddo y tidenau gieuog yn cael eu gorchuddio.

Pan fyddo gronyn o dywod wedi myned i'r llygad, mae dagrau yn llifo yn helaeth i'w nofio ymaith, fel na byddo iddo niweidio y peiriant tyner hwnw, yr hwn sydd un o'r rhai mwyaf cynhyrfiol yn y corff. Mae yn gymhwys arfer yr un fath resymeg mewn perthynas i gyfogbair a charthbair, nid yn unig am fod y symudiad nydd-droedig wedi ei gyflymu yn fawr, neu ei wrthdroi yn ol cymhelliad yr anhwyldeb; ond hefyd am fod y cylchwyrnau llysnafeddog, a'r rhedwelïau mygdarthiol, yn tywallt allan eu gwlybwr yn helaeth, i olchi ymaith y sylwedd sydd, naill ai yn fferyllaidd neu gelfyddydol, yn troseddu. Pan fyddo draen wedi myned i ryw barth, awgrym cyntaf y meddwl fydd anfon y bysedd, gyda chynorthwy yr ewinedd, i'w thynu ymaith. Amcan natur, mewn canlyniad i enyniad, yw cynnyrchu crawniad, ac felly mae yn cael ei symud. Os bydd yr ymdrech yn effeithiol, mae yn myned yn mlaen i wneuthur gronynau y cnawd newydd; y rhedwelïau, gwythenau, dyfrlynolion, a'r giau, sydd yn lledaenu eu hunain, yn uno ac yn adnewyddu eu cyfryngau, ac heb gynhorthwy llaw-feddyg, natur a gwblha iachâd. Ond os bydd yr ymdrech yn annigonol, pan fyddo y crawniad wedi ei gwblhau, mae yn myned yn mlaen wedi hyny i'w amgylchynu â mur, ac yn cynnyrchu croen caled a dideimlad; yn ol iaith law-feddygol, ffurfir *fisula*, ac yna, fel y gellir disgwyl, mae yr ymdrech yn ymatal. Mewn achos o enyniad eisglwyfus, y mae natur yn tywallt allan ddyfrlyn ceuladwy, ac, heb

gynhorthwy y meddyg, yn ffurfio memrwn newydd, gyda rhedwelïau, gwythenau, dyfrlynolion, a gïau, ac felly mae yn cadw sylwedd yr ysgyfaint heb gael ei niweidio.

Mae Van Swieten yn crybwyll am gerig yn y bledren ag oeddynt yn ormod i fyned trwy y bib, neu y chwibol, gyffredin, iddynt, wedi cynnyrchu enyniad, ymlyniad *(adhesion,)* a chrawniad, gael eu ffyrdd trwy orweli i arwyneb allanol y corff, ac felly effeithio eu hymadawiad, a thrwy hyny iachâd.—*Comment.*, §. 950.

Yr ymdrechion mwyaf hynod perthynol i natur yn esmwythâu ei hunan, ydynt, mewn rhai achosion o *extra uterine conception*, megys, pan fyddo plentyn yn bodoli yn ngheudod y bol, o ba le nas gellir ei ddwyn ymaith yn y ffordd naturiol, natur, trwy enyniad, sydd yn ffurfio ymlyniad, ac, mewn amser, cornwyd, a'r *fœtus* yn cael ei fwrw, naill ai trwy arwisg y bol neu trwy yr eisteddfod; a hyny yn fynych heb niweidio llawer ar iechyd cyffredinol y fam.

Eto mwy hynod yw dyfais natur mewn achosion o *necrosis*. Wrth feddwl fod rhan o asgwrn *tibia*—un o esgyrn y goes, er esiampl—yn cael ei amddifadu o fywyd, amwisger ef gydag asgwrn newydd, yn gysylltiedig yn mhob pen â mân wreiddiach yr asgwrn bywiol. Yn y fan yma mae yr hen asgwrn yn achosi cynhwrf, ac yn galw allan ymdrech adnewyddol yr egwyddor fywiol. Cynnyrchir enyniad, crawniad a ddilyn, ac agoriadau clwyfus a ffurfir yn yr asgwrn newydd, a'r gyfran farwol, neu lygredig, os na bydd iddo gael ei dynu gan y llaw-feddyg, sydd yn cael ei ddadmer, ac yn llifo ymaith. Felly mae natur, mewn aneirif o achosion, yn alluog, heb gymhorth, i gyflawni iachâd.

Crybwyllwyd yn flaenorol, mewn achosion o enyniad, am ymdrechiadau natur yn esmwythâu ei hun trwy

benderfyniad a chrawn-dyriad; ond pan fyddo y grym bywiol mewn rhan wedi llwyr-wanhau, a marw-lygriad (*sphacelus*) yn dilyn, mae ganddi eto un ddyfais yn weddill, ac y mae hyn yn fynych yn cyflawni iachâd. Enyniad newydd a gymhellir, ac a effeithia wahaniad rhwng y byw a'r marw; y gyfran amddifad o fywyd a fwrir ymaith, ac y mae crawniad mwynaidd yn dilyn; yna gronyniad, gyda chroen newydd, a gwblha yr iachâd.

Canfyddir oddiwrth y nodiadau uchod, yn gystal a thrwy yr hyn sydd yn myned yn mlaen yn ein cyrff yn ddyddiol, fod Awdwr natur, yn y modd doethaf, wedi darparu egwyddor ag sydd wedi ei harfaethu yn uniongyrchol gogyfer a symud afiechyd. Mae yr egwyddor yma yn hynodol iawn mewn twymynau; o herwydd, can gynted ag y byddo sylwedd gwrthwyneblyd neu heintiol wedi ei adael yn y cyfansoddiad, yna bydd ychwanegiad ar weithrediad y galon a'r rhedwelïau yn cymeryd lle, i'r diben o fwrw allan yr achos cynhyrfiol trwy y croen; neu gall fyned ymaith trwy fynedfeydd ereill sydd wedi eu sefydlu i'r pwrpas. Gyda pha briodoldeb, ynte, y gall rhai wadu y rhagddarpariad yma!

Yr ydoedd athraw nodedig yn Philadelphia, yn ddiweddar, yn gwawdio y gallu yma yn y cyfansoddiad, a dywedai wrth ddosbarth o efrydwyr, '*Kick nature out of doors!*' Y dyn hwnw, neu frawd iddo, oedd yn dywedyd, 'Rhoddwch i mi *mercury* yn un llaw, a *lancet* yn y llaw arall, ac yr wyf yn barod i ymgystadlu âg afiechyd yn mhob dull a ffurf.' Dr. Beach a ddywed, 'Nid oes genyf ond yn unig ddywedyd,—bydded i'r hanesydd meddygol gofrestru y tybiau yma, a gynhelir yn yr ysgolion meddygol uchaf yn America, a hyny yn y bedwaredd ganrif ar bymtheg. Ond y mae yn ddywenydd genyf ganfod nad yw yr holl feddygon yn cydsynio â'r fath olygiadau.'

Afiechyd ynte, yn ol yr hyn a nodwyd, a ellir ei ystyried yn ymdrech iachusol natur, yn hytrach na dim arall; neu gynghawsedd adferol i ddwyn oddi amgylch weithrediad iachus.

'Mae llawer o feddygon,' medd Dr. Beach, 'yn mabwysiadu triniaeth a sylweddau afresymol wrth drin afiechyd, megys *mercury*, gwaedu, &c.; ac er fod rhagluniaeth ddwyfol yn cynnorthwyo natur i wellhau, a hyny er gwaethaf eu hynfyd ddewredd a'u cyfferi camgymhwysiadol, byddant hwy wedi hyny yn gwisgo eu plyf paenaidd, ac yn cyfrif iddynt eu hunain yr holl anrhydedd a'r llwyddiant sydd yn deilliaw oddiwrth yr egwyddor neu y gynghawsedd alluog ag sydd yn bodoli yn natur.'

Jauan a ddywed, 'Fel yr ynfyd wrth yr awrlais, yn troi y bysedd, a dim yn atal; ond yn ataliad y peiriant, mae meddygon trwsgl yn parhau i weithio wrth beiriant y Creawdwr hyd oni byddo, trwy eu hanwybodaeth o ddeddfau ei natur, yr holl weithrediadau naturiol wedi eu difuddio yn ddisymwth, a hyny am byth.'

## ARDDANGOSIAD CYFFREDIN O IACHAD.

Os yw achos afiechyd yn gynnwysedig mewn ataliad sylweddau heintiol, ac enciliad y gwaed o'r arwyneb, fel y dangoswyd yn barod; a bod gwyrad oddiwrth y fantol iachus yn ddyledus i anweithgarwch yr ymgartholion; mae synwyr cyffredin a phrofiad yn dangos yr angenrheidrwydd o adferu gweithrediad yr ymgartholion. A oes, neu a all fod, arddangosiad arall o wellhâd? Os hwy ydynt yr unig agoriadau, neu y ffyrdd y mae natur yn eu defnyddio i adferu y corff i iechyd, mae yn rhaid i bawb gyffesu nad oes un ffordd arall

Mae ymdrech yn natur i adferu yr ymgarthiadau pan fyddont wedi cael eu llethu; y cwbl a all meddyginiaeth

wneuthur, gan hyny, sydd gynnwysedig mewn cynnorthwyo yr ymdrechiadau iachusol yma. Gan hyny, nid oes dim i'w wneuthur ond rhoddi y fath feddyginiaethau ag a symudant y rhwystriadau, ac a adferant y didoliadau. Mae hyn yn cael ei ddangos a'i brofi gan eithafnod neu derfyniad afiechyd, yn gyffredin. Maent yn llarieiddio pan gymer chwys le ar y croen, neu weithiau arlloesiad helaeth o'r coluddion, a chyfogiad hefyd, neu arlloesiad helaeth o leisw, neu beswchboeriad o'r ysgyfaint. Gyda pha briodoldeb, ynte, gofynwn, y mae meddygon yr hen ddefod yn rhoddi *mercury*, ac yn gollwng gwaed? A ydynt hwy yn arddangos cyflawniadau natur? Nid ydyw natur yn gwellhau un afiechyd gyda phoerlifiant *(salivation,)* ac nid yw ond anfynych, os un amser, trwy waedu. Am hyny, gellir gyda sicrwydd ddywedyd, eu bod yn niweidiol. Mae y fath driniaeth yn cynnyrchu afiechyd *sui generis*, o nodweddiad gwahanredol. Mae gwaedu yn lleihau neu yn dinystrio yr ymdrech iachusol a sefydlwyd yn natur, ac am hyny yn gwrthwynebu ei dibenion, ac yn llidio yr anhwyldeb. Gwrthwynebydd i'r athrawiaeth uchod sydd barod i ddywedyd, fod natur yn esmwythâu ei hun yn achlysurol trwy waedu o'r ffroenau, a'r llestri lledwigwst, &c. Caniateir hyn; ond nid yw ond anfynych. Ond a ellir profi fod hyny yn gynghawsedd iachusol, a sefydlwyd i'r un dyben a'r ymgartholion yn gyffredinol? Mae yn eglur iawn nad yw; ond yn hytrach ymddengys yn effaith afiechyd, sef annghyfartalrwydd cylchrediad y gwaed yn y corff; ac am hyny, yn lle cynnyddu gwaedlifoedd annaturiol, fel y dylid cynnorthwyo yr ymgarth naturiol, mae pob un sydd yn deall natur, a'r canlyniadau o weithredu yn y cyfryw fodd, yn gwybod mai arferiad da yw ei atal, trwy ddyrchafu y chwysdarth, ac felly gyfartalu y cylchrediad.

Ond, i fod ychydig yn fwy pennodol. A yw afiechyd yn terfynu bob amser, neu agos bob amser, trwy arlloesiad o waed o'r corff? Ac onid yw afiechyd bob amser, neu agos bob amser, yn llarieiddio trwy gyfogiad, neu ymgarth y coluddion, neu chwysiad helaeth, ac weithiau trwy arlloesiad helaeth o leisw? Ac onid yw meddygon yn ffurfio argoel ffafriol neu anffafriol trwy yr arwyddion yma? Am hyny, os yw iechyd yn cael ei adferu yn y modd hyn, sef trwy chwysiad, &c., a ydyw yn unol â gwyddoniaeth, a ydyw yn rheswm neu yn synwyr cyffredin, a ydyw yn dangos un cymhwysder fel gwasanaethwr, pan yr arferir dull a thriniaeth o'r fath nad yw natur ond anfynych, os un amser, yn eu defnyddio i gyflawni y dyben yma, sef iachâu? Heblaw hyny, a chaniatau fod gollwng gwaed yn esmwythâu, ni wna hyny brofi priodoldeb gollyngiad gwaed cyffredinol (*general blood-letting*.) Nis gall hyny symud yr achos, hyd yn nod pe byddai yn cael rhyw radd o effaith lesol.

Fod gwaedlifoedd yn digwydd weithiau, ac yn gweini esmwythâd, nid yw ond yn unig yn dangos darbodaeth ddoeth natur mewn achosion o anwybodaeth ar ran y meddyg. Pan fyddo yn analluog i weinyddu y fath feddyginiaethau ag a symudant y dolur a'r anhwyldeb trwy ymgarthiadau naturiol y gyfundraeth, rhai o'r llestri gwaed sydd yn cael eu gorlenwi, ac yn rhwygo; ac oddiwrth hyn mae gwaedlif yn dilyn, ac yn gydfynedol weithiau âg esmwythâd. Mae y darpariad yma yn natur yn debyg i'r hyn sydd wedi ei sefydlu yn nychweliad y gwaed wedi tori ymaith aelod. Mae y llestri gwaed ystlysol, a elwir *anastomosing branches*, yn ëangu ac yn gwthio y gwaed, i ffurfio rhedfeydd annaturiol; darpariaeth a sefydlwyd yn ddiau gogyfer â damweiniau ac anwybodaeth. Weithiau cymer gwaedlif le yn y clefri poeth (*scurvy*,) a'r dwymyn felen, yn

nghig y dannedd, y ffroenau, &c. Ond a ellir casglu fod hyny yn ymdrechion iachusol natur? Mae yn ddigon eglur ei fod yn wrthwynebol hollol i hyny. Yn y gorsafion diweddaf mae yr arwyddion o'r nodweddiad yma yn dygwydd. Ymdrechodd Dr. Rush gynnal yr athrawiaeth fod natur, yn y fath achosion, yn ymdrechu bwrw ymaith y dwymyn yn y modd hyn; ac felly yr oedd ef yn gwaedu ei oddefwyr agos i farwolaeth. Dr. Ross, physygwr o'r India Orllewinol, yr hwn oedd wedi cael profiad ac adnabyddiaeth helaeth o'r dwymyn felen, a brofodd yn benderfynol fod y gwaedlifoedd ag y crybwyllwyd am danynt yn tarddu oddiwrth wendid ac ymlaesiad llestri y gwaed; ac nad oedd hyny yn ddeddf yn natur i'r diben o wellhau twymynau, ond yn hytrach yn effaith afiechyd. Ac yn awr gofynir, pa le y mae awdurdod, wrth ddilyn natur, i gynyg iachau afiechyd gyda gollwng gwaed, *mercury*, neu boerlifiant?

## Y MEDDYG YN WASANAETHWR YN UNIG I NATUR.

Mewn gwirionedd, nis gallwn iachau un afiechyd. Ni allwn ond yn unig symud yr achos niweidiol, pan y mae natur yn effeithio yr iachâd; ac am hyny, bydded iddo gael ei osod i lawr fel arwiredd sylfaenol mewn meddyginiaeth, mai y cwbl a all y meddyg wneuthur yw ymddwyn fel gwasanaethwr i natur.

Mae awdwr y *Medical Sketches*, mewn perthynas i'r pwnc hwn, yn sylwi fel y canlyn:—'Yr henafiaid a sylwasant, nid yn unig ar yr effeithiau, ond hefyd y reddf trwy ba un y mae anifeiliaid yn cael eu cyfarwyddo at blanhigion, er esmwythâu eu hunain, pan fyddont yn glwyfus, ac wedi hyny yr oeddynt yn eu cymhwyso at anhwylderau dynion. Ond yr oeddynt hwy yn cydfyned, gyda y manylrwydd mwyaf, â'r

modd y byddai natur, pan fyddai yn cael ei gadael iddi ei hun yn unig, yn esmwythâu ac yn bwrw ymaith afiechyd. Yr oeddynt yn gweled ac yn amgyffred fod afiechyd yn cael ei fwrw ymaith trwy gyfogiad helaeth ar rai, ar ereill trwy ryddni, ac ar ereill trwy helaethiad y chwysdarth; ac wedi iddynt fel hyn ddysgu y ffordd, yr oedd afiechyd yn cael ei wellhau gan natur; pa bryd bynag y byddai ei galluoedd yn ymddangos yn rhy egwan a hwyrdrwm, y pryd hyny, a'r pryd hyny yn unig, yr oeddynt yn anturio i'w chynnorthwyo trwy eu celfyddyd.'

Mae hyn yn deilwng o sylw, er fod y reddf hon, trwy ba un y mae rhai anifeiliaid yn cael eu cyfarwyddo i ddewis llysiau neillduol i'r pwrpas o symud ymaith afiechyd, wedi ei rhoddi iddynt hwy, nad yw hyny wedi ei roddi i'r fath raddau arbenigol i ddyn; eto, mae natur yn ei gyfarwyddo yntau hefyd, mewn dull mwy cyffredinol, at y modd goreu i symud ei anhwylderau; o herwydd, mewn twymynau, yn gyffredin, mae y goddefydd yn dymuno diodydd oerion, teneuon, a suraidd; ac yn casau y cyfryw ag ydynt drymaidd a gwresog. Mae hefyd yn chwennych ffrwythau aeddfed suddlyd o wahanol rywogaethau. Mae llawer o gig yn hynod o wrthwynebol iddo. Awel oeraidd, ac ystafell oeraidd a helaeth, sydd iachusol a hyfryd ganddo; pan y mae awyr gaethiwus, ac ystafell wresog, yn niweidiol ac yn orthrymus iddo.

Yn yr enghreifftiau hyn, pob peth y mae y goddefydd yn eu casâu, sydd a thuedd ynddynt i ychwanegu yr afiechyd; a phob peth y mae yn chwaethu, sydd yn effeithiol i leddfu yr afiechyd yn ei angerdd. Gellid rhifo enghreifftiau ereill cyffelyb; ond rhoddir un yn ganlynol lle cafwyd cyfleusdra yn fynych o wneuthur sylw o hono:—Tua diwedd twymynau pydrol, pan fyddo y goddefydd wedi gwanhau yn ddirfawr, trwy

angerdd a meithder yr afiechyd—yn gorwedd yn wastddol ar ei gefn, a tharfiad parhaus yn ngewynau yr arddwrn—ei wefusau a'i ddanedd yn orchuddiedig gan gresten ddû—a'i dafod yn crynu, a chydag anhawsder mawr yn ei ddal allan—y gwaedgur yn egwan a chyflym;—yn y sefyllfa druenus yma, pan fyddo yn ymddangos yn ansyniadol i bob peth arall, gwna wrthod, gyda phob amlygiad o'r casineb eithaf, foddion neu gyfferi o bob math. Ond ar fod ei wefusau a'i dafod yn cael eu gwlychu gyda gwin, ceir ei weled yn ei sugno gyda yr awydd mwyaf. Gwelwyd, cyn hyn, y cyfryw a ddysgrifiwyd uchod, yn rhodio oddiamgylch yn ddyn iach, pan oedd meddygon wedi ei roddi i fynu fel dyn marwol; ond er syndod iddynt, gwellhaodd natur ef.

Mae yr athrawiaeth yma yn cael ei hamlygu yn mhellach yn ysgrifeniadau Dr. Hillary, wrth ddysgrifio ei ddirgelwch yn gwellhau afiechyd trwy fabwysiadu *cyfundraeth well.* Dywed efe, mai trwy sylwi yn ofalus a chywir ar symudiadau ac ymdrechiadau natur, ag hefyd, arddangosiad natur yn cludo ymaith, ac yn iachau afiechyd—ac wrth sylwi trwy ba arlloesiadau manol y mae yn y diwedd, yn bwrw ymaith y sylweddau heintiol ag oeddynt yn achosi yr anhwylderau, ac felly yn adferu iechyd—y gellir trwy yr un dull o ymresymu, wybod y dull a'r moddion a ddylem arferyd i gynnorthwyo natur, i'r dyben o gynnyrchu effeithiau iachaol. Os gwrthodir pob ymresymiad amcandybiol, a thrwy sylwi, canlyn a chynnorthwyo natur yn gydfynedol â'i harddanghosiad, bydd y driniaeth bob anser yn fwy boddhaol, ac yn sicr o fod yn fwy llwyddianus.

Mae y corff dynol wedi ei ffurfio mor ddoeth a rhyfeddol, fel, pa bryd bynag y byddo sylwedd adwythig wedi myned iddo, ag sydd niweidiol, neu ddinystriol, canfyddir ei fod bob amser yn cynhyrfu, yn aflonyddu, ac yn cymhell natur i ymegnio ei galluoedd, neu *vis*

*vita*, i'w fwrw ymaith; ac y mae yn gweithredu mor rheolaidd a threfnus, a'r fath undeb yn yr ymdrechiadau wrth fwrw ymaith y sylwedd troseddedig o'r corff, ag wrth adfer iechyd mae yn cadw y bywyd. Fel hyn wrth sylwi, olrhain, ac adnabod afiechyd, a'r achosion o hono, ac ymresymu yn gyfiawn oddiwrth hyny, y gallwn wybod pa bryd i gynnorthwyo natur, yn gydfynedol â'i harddangosiadau; a hyn sydd yn cynnwys y brif gyfran yn y wybodaeth feddygol, a'r egwyddor wir wyddonawl yn y gelfyddyd feddygol. A phan fyddom wedi dysgu hyn gan natur, trwy arsyllu ar ei deddfau a'i mynegiadau, gallwn wedi hyny, yn rhesymol, obeithio gwneuthur athrawiaeth ac ymarferiad physygwriaeth yn fuddiol, a bendithol i'r hil ddynol.

## Y FFORDD I DDYRCHAFU TWYMNDER A CHWYSDARTHIAD.

Crybwyllais yn barod am rai o'r moddion ag ydynt yn dyrchafu twymnder a chwysdarthiad; ond rhoddir yn ganlynol reol mwy penderfynol.

Yn gyffredin, fe ellir cynnyrchu neu ddyrchafu y chwysdarthiad, trwy yfed yn helaeth o ryw ddiodydd teneuon. Nid oes dim yn well nag yfed trwyth gref oddiar *catnip*, wedi yn gyntaf faddio y traed gyda *ley* gwan, neu ddwfr *salaratus*. Mewn rhai achosion, dylid golchi yr arwyneb croenawl drosto â'r un peth. Pan yn gwneuthur hyny, cyfoder dillad y gwely âg un llaw, ac, â gwlanen yn y llaw arall, wedi ei rhwbio â *ley*, rhwbier y croen yn dda; a phan fyddo y goddefydd wedi ei olchi o'r gwddf hyd y traed, yna gellir ei droi ar yr ochr arall, a golchi hono yr un modd. Dylai y gwlybwr fod wrth y gwely, yn boeth. Bydd yn angenrheidiol weithiau ychwanegu dillad y gwely, er mwyn cynnyrchu chwys. Gellir hefyd roddi costrelau, yn

cynnwys dwfr cynhes, wrth y traed a'r ochrau hefyd.

Gwna y moddion hyn ateb y dyben mewn llawer o achosion; ond bydd yn angenrheidiol weithiau weinyddu rhyw foddion mwy galluog. Mae y chwysdyllau yn fynych mor gauedig, neu gyfyngol, fel y mae graddau mwy o wres yn ofynol i'w hagor. Pan fyddo y goddefydd yn y cyflwr hyny, nid oes dim mor syml ac effeithiol a'r ager-faddon. Gellir ffurfio un heb nemawr o drafferth, yn y modd canlynol:—Bydded i *pennyroyal*, *spearmint*, *catnip*, a *tansy*, dwy lonaid llaw o bob un, gael eu berwi mewn llonaid celwrn o ddwfr, ac wedi rhoddi y cwbl mewn llestr o faintioli cymhwys, rhodder dros ei wyneb ddau ddarn o astyllen, ac yna gorchuddier gwyneb yr estyll â gwlanen, a bydded i'r goddefydd eistedd ar hyny, a hulyn oddiamgylch iddo, a'r traed ar yr un amser mewn dwfr twym. Gellir cadw yn boethion briddfeini, neu gerig, i'r dyben i'w rhoddi yn y dwfr os bydd yn oeri; mae ychwaneg o ager yn cael ei gynnyrchu wrth eu rhoddi yn y dwfr o dro i dro. Mae ar yr un pryd yfed trwyth *catnip*, *&c.*, yn cynnorthwyo y chwysdarthiad yn fawr. Gellir defnyddio yr ager-faddon gyda buddioldeb yn mhob achos lle y mae marweiddiwch yn llestri y croen, ac aelodau y corff, yn enwedig ar ddechreu twymynau, lle mae, agos bob amser, angenrheidrwydd am ddyrchafu y chwysdarth.

Yn y gewynwst enynawl, anwyd cyffredin, enyniad yr ysgyfaint, ac anhwylderau poenus ereill, mae yr ager-faddon yn hynod o effeithiol. Mae meddygon yn Lloegr, ac amryw yn America, wedi cael, trwy brofiad, nad oes dim moddion mwy effeithiol i symud afiechyd, a chadw y corff mewn iechyd, na yr ager-faddon. Mae baddonau yn Llundain, a manau ereill, wedi eu darparu i bobl dlodion gael baddio ynddynt yn rhad; ac y mae rhai yn meddwl fod llarieiddiwch y *cholera* yn ymddi-

bynu ar arferiad helaeth yr ager-faddon. Pa un bynag am hyny, y mae pob un ag sydd yn deall dynsoddiaeth, yn canfod y defnyddioldeb.

Dywed Dr. D. T. Coxe, Caerefrog Newydd, a Dr. Beach, eu bod hwy wedi cael profiad helaeth o effeithioldeb yr ager-faddon, a'u bod wedi gwellhau, nifer o weithiau, yr anhwylderau canlynol :—Afiechyd hirbarhaol yr afu; y gewynwst; tarddiadau ar y croen; ymhelaethiad y ddueg, gyda thueddiad i'r dyfrglwyf; gwall-dreuliad (*dispepsia ;*) enyniad yr arenau; yr anwydwst *(influenza ;)* a'r tân iddwf. Mewn perthynas i'r goddefwyr hyny ag oeddynt yn cael eu blino gan wall-dreuliad, ac a arferasant yr ager-faddon, i hyny symud y bolrwymedd gwastadol yn fuan, ac yr oedd yn gyffredin ddiwygiad mawr yn eu gwedd; yr oedd yn anhawdd dwyn yn mlaen chwysdarthiad. Yr oedd tân iddwf yn encilio, ac yn rhoddi i fynu yn rhwydd a thyner i ddylanwad y baddon. Yr oedd arogl y pethau ag oeddynt wedi eu berwi yn y dwfr ar leisw y goddefydd; yr hyn sydd yn profi fod yr ager yn treiddio trwy yr holl gyfansoddiad. Mewn un achos, person ag oedd yn cael ei flino gan darddiad croenawl, yn gydfynedol âg anweithrediad, neu farweiddiwch yr afu; y tro cyntaf yr oedd twymder y baddon oddeutu 100 o raddau, ac achoswyd chwys helaeth. Bob tro wedi hyny, cynnyddwyd tymheredd y baddon, hyd onid oedd rhwng 115 a 120 o raddau. Mae rhai yn meddwl na fedr person, wedi bod mor dwym mewn ager-faddon oddef oerni wedi hyny; ond y mae yn ffaith a brofwyd amryw weithiau, y gall person oddef oerni yn llawer gwell wedi bwrw ymaith yr afiechyd gyda yr ager-faddon, nag y gall pan fyddo yr afiechyd yn sefydlog yn y cyfansoddiad. Llawer o ymosodiadau y gewynwst; ac anwyd, ag sydd yn cyfodi oddiwrth leihad y chwysdarth, a ellid eu tori yn yr eginyn, trwy

arferiad cyfamserol yr ager-faddon. Mewn anhwyldeb hir-barhaol y croen, tân iddwf, afiechyd yr ysgyfaint, y gwddf, y cylla, a'r coluddion, pa rai sydd yn cydymdeimlo â'r croen, byddai arferiad doeth o'r ager-faddon yn fuddiol. Mae yn dra buddiol hefyd yn anhwylderau y meddwl a'r giau, yn mha achosion y mae llesgedd ac anweithrediad y croen yn gydfynedol.

Yr ofn cyffredin o gael anwyd, yr hyn sydd yn rhwystr i lawer i arferyd ager-faddon, sydd sylfaenedig ar gymhariaeth ffugiol rhwng effeithiau yr ager-faddon a chwys helaeth wrth weithio, neu afiechyd. Mae y diweddaf yn gwanhau y corff, a thrwy leihau y gallu gwrthweithredol, y mae yn ei wneuthur yn agored i niweidiad oddiwrth gyfnewidiad sydyn yr hinsawdd; ond y mae effeithiau yr ager-faddon yn hollol wahanol i hyny. Pan fyddo heb fod yn rhy dwym, ac y peidir aros ynddo ormod o amser, mae yn cynnyddu, yn hytrach nag yn lleihau, y nerth; a thrwy gymhell gweithrediad bywiol y croen, y mae yn rhoddi gallu i'r gwrthweithrediad i wrthsefyll oerfel, &c. Rhoddir dysgrifiad o'r moddion ereill sydd yn cynnyrchu twymder a chwysdarth, wrth draethu ar y gwahanol glefydau yn y rhan physygwriaethol.

## AFIECHYD LLE MAE OER A BRWD YN FUDDIOL.

Afiechyd, twymynau, fel y dangoswyd yn flaenorol, sydd yn tarddu oddiwrth atalfa y chwysdarth. Oerni, yn gyffredin, yw yr achos cynhyrfiol. Mae yn eglur, gan hyny, mai dyledswydd gyntaf y meddyg yw symud y niweid mae y gyfundraeth wedi ei dderbyn. Mae y croen, yn y cyflwr hwnw, wedi myned yn farwaidd, a'r chwysdyllau wedi cau; o ganlyniad, mae y gyfundraeth wythenog wedi ei anhwyluso. Brydaniaeth,

gan hyny, a ddylai gael ei gymhwyso yn allanol ac yn dufewnol, i'r dyben o symud ymaith farweiddiwch y croen, trwy adferu y chwysdarthiad. Y gwaed sydd weithiau yn cael ei yru yn ddisymwth a sefydlog o'r arwyneb a'r aelodau i'r rhanau tumewnol, fel y mae y croniad yn atal galluoedd natur (yn achlysurol am byth,) ond bob amser mae llewygon yn gydfynedol. Hyn yw yr achos nas gellir tynu un dyferyn o waed yn y cyflwr hwnw. Mae gorchwyliaethau y galon a'r rhedwelïau, pa rai ydynt yn anfon y gwaed i bob cyfran o'r corff, wedi ymatal yn rhanol, neu weithiau yn hollol, o achos trawslifiad, a hyny, trwy ddylanwad oerni, yn rhoddi iddynt y fath ergyd, fel nas gall gwrthweithrediad gymeryd lle, neu o leiaf ond yn hynod o wanaidd. Cafwyd engraifft o hyn yn yr haint a alwent y *cold plague*, yn y Taleithiau Deheuol, ychydig flynyddoedd yn ol. Yr oedd personau yn cael eu cymeryd yn y dull a nodwyd, a dywed Dr. Anthony Hun, Kentucky, fod pob moddion ereill, oddigerth y baddon brwd, wedi profi yn ddifudd. Yr oedd hyny yn adalw y gwaed o'r canol i'r arwyneb. Can gynted ag y byddo y galon a'r rhedwelïau wedi cael eu dadlwytho, byddant yn dechreu chwareu, a chyflawni eu gwahanol swyddogaethau, yn gydfynedol âg esmwythâd buan. Yn y graddau llymaf, nid oedd dim ond y baddon brwd yn gwellhau yr afiechyd angeuol yma; ac yr oedd y meddyginiaethau ag oeddynt yn cadw y goddefwyr yn wresog, ac yn eu chwysdarthu, yn bwrw ymaith yr anhwyldeb yn gyflym,

Dywedir am lucheden ag oedd yn hanu, nifer o flwyddi yn ol, yn Lloegr Newydd, a elwid *typhoid pneumonia*, yn gydfynedol â'r cyffelyb arwyddion. Yr oedd y croen a'r aelodau yn hynod oer a marwaidd, gyda rhyndod, &c.; a'r grym bywiol yn wanaidd. Ni chafwyd dim, yn yr anhwyldeb yma, mor ddefnyddiol

a brydaniaeth, yn nghyd a chwysdarthiad. Y bobl gyffredin oeddynt yn fwyaf llwyddiannus trwy arfer yr ager-faddon. Dywedir fod y cymhwysiadau hyn yn ei atal rhagllaw.

Pa mor wahanol ydyw effaith brydaniaeth a chwysdarthiad, yn y rhai hyn, a'r cyffelyb afiechyd, oddiwrth yr arferiad o ollwng gwaed, yr hyn sydd yn gwanhau y cyfansoddiad, yn gohirio yr anhwyldeb; a mwy na hyny, yn peryglu bywyd y goddefydd; neu, ar y goreu, os ei hadferir, bydd yr iechyd wedi ei ddrygu. Ond am y dull a gymeradwyir, mae yn troi yr hylif i'w redfa naturiol, ac felly yn symud y croniad, rhwystro enyniad, adferu y nerth a'r gwres, cyfartalu y dylanwad gwythenog a gïeuog, ac yn symud y sigliad a achoswyd gan yr oerder.

Dywed Dr. Armstrong, nad oedd dim mor effeithiol yn y *typhus*, a'r baddon twym. Pan oedd gorthrymder mawr i'w deimlo oddeutu y galon, a phan y rhoddid y goddefydd mewn baddon oddeutu 100 gradd o boethder, yr oedd yn esmwythâu yn fuan.

Dywed Dr. North, mewn perthynas i dwymyn adwythig, ag oedd yn hanu yn Llundain Newydd, Connecticut:—'Yr wyf am hysbysu i'r darllenydd, fod undeg-tri o'r goddefwyr cyntaf yn Winchester, Swydd Litchfield, wedi cael eu trin yn ol y driniaeth ddefodol ddauddeg mlynedd yn ol—oerawl a gwaedawl driniaeth twymynau; ac y mae genyf yr awdurdod goreu i ddywedyd, fod yr oll o'r goddefwyr hyny wedi marw, a'u bod, o ran cyfansoddiad, yn dda ac ieuainc. Wedi hyny cafodd y cynllun cymhellawl a chwysiadol ei fabwysiadu, gan y coffadwy Dr. S. Woodward, yn ddynwaredol i gynghawsedd Mrs. Hulbert. Wedi hyny, yr oedd y llwyddiant yno gymaint ag yma'—gan gyfeirio at barth gegleddol Swydd Litchfield.

Pe byddai y cynllun sydd mewn arferiad yn mhlith

rhai meddygon yn y wlad yma yn cael ei fabwysiadu yn gyffredinol, byddai marwolaethau yn anamlach. Y cynllun yw, dysgu yr annghyfarwydd gymeryd chwys, a myned i wely cynhes, y mynyd y teimlant eu hunain yn anhwylus neu glwyfus; ac nid aros dyfodiad hwyrol y physygwr. Gall lled-daeniad y ffeithiau hyn wneyd mwy o ddaioni yn mhlith y cleifion na llawer o rag-fasnachau meddygol y dyddiau hyn; er fod y dosbarth diweddaf yn rhoddi mwy o gyhoeddusrwydd i awduron, ac er cymaint o amlygiad a roddant o gywreinrwydd yr ymenydd dynol.

*Braussaism*, *homopathaism*, *hydropathyism*, a haner gwallgofrwydd o lawer math, a allant fod yn ddefnyddiol i ddifyru pruddaidd broffesiad, ac eto heb fod mewn un modd yn fuddiol i'r claf. Gall aml un dorsythu o flaen tyrfa o bobl, a thraddodi rhigwm hirfaith; ond wrth wely y claf, bydd pob dychymyg yn diflanu o'r golwg fel cysgod.

Yn y gewynwst, mae y driniaeth chwysbarol yn hynod effeithiol. Mae y gewynwst yn gyffredin yn cael ei achosi trwy draws-fynediad disymwth o boethder i oerni, ac yn dwyn oddi amgylch yr arwyddion a nodwyd yn flaenorol; ac y mae y driniaeth chwysbarol yn rhinweddol ragorol.

Weithiau, y mae grym yr afiechyd yn cyd-gyfarfod mewn un rhan o'r corff; weithiau yn y pen, yr afu, neu y cymmalau. Pan fyddo hyny yn dygwydd, y gynghawsedd o gynnyrchu gwres yn yr arwyneb, ac adferu y chwysdarth, sydd yn rhoddi esmwythâd union-gyrchol; ac yn fynych y mae yn gwellhau yr anhwyldeb yn ei ddechreuad, neu ei gyflwr ffurfiadwy. Mae o'r pwys mwyaf ymdrechu cyflawni hyny yn y gewynwst enynawl; a'r un modd yn mhob afiechyd twymynawl. Pan y byddis yn gweinyddu chwysbair tumewnol, ar yr un pryd dylid cymhwyso brydaniaeth

allanol at holl arwyneb y corff, i'r dyben o symud y crynhoad, neu dyndra y llestri croenawl. Os na ofelir am hyny, gwna moddion cynhesol tumewnol gynnyddu a ffyrnigo y dolur weithiau. Mae y cysylltiad sydd rhwng y cylla a'r croen mor fawr, fel y dylid rhoddi sylw i'r ddau yr un amser, os byddwn am gyfartalu y cynhyrfiad.

Meddyginiaeth yr Ysgyfaint.—Mae yr ysgyfaint yn agored i gael ei chaethiwo a'i chlwyfo pan ddynoethir y corff yn ddisymwth i oerni. Pan fyddo person wedi poethi llawer, ac wedi hyny ddynoethi ei hun i ffrwd o wynt, neu i ddylanwad arafaidd a gwanhaol oerni, bydd y chwysdyllau yn cau, yr hyn a bair i ysgarthiad, neu sylwedd heintiol, aros yn y corff; ac i'r gwaed gasglu ar femrwn llysnafeddog yr ysgyfaint. Wedi hyny, bydd cynhyrfiad ac enyniad yn dilyn; ac oni bydd iddo gael ei atal, terfyna mewn crawnaeddfediad. Yn awr, yn yr amgylchiad yma, rhaid ymgyrchu am chwysdarthiad rhagllaw, i wrthwynebu yr effaith adwythig a achoswyd trwy ddylanwad oerni. Mae y gwaed yn yr achos yma yn encilio o'r arwyneb, ac yn sefydlu ar yr ysgyfaint, felly yn ei gorlenwi a'i chynnyrfu; ac am hyny rhaid ei adalw yn ol gyda y moddion crybwylledig.

Dyma lle y mae yr afiechyd echrys hwnw, sydd yn lladd ei filoedd, y darfodedigaeth, o dan awdurdod meddyginiaeth; trwy sefydlu y driniaeth chwysbarol, terfyna yr afiechyd trwy gynghawsedd chwaledig. Y mae gollwng gwaed mor bell o gyflawni y terfyniad dymunol yma, fel y mae yn dwyn gwendid peryglus, ac, yn ol pob tebygolrwydd, yn cludo y goddefydd i'w fedd yn anmhrydlawn.

Clefyd y Gwaed *(dysentery.)*—Yn yr anhwyldeb poenus yma, y mae cymhwysiad brydaniaeth at yr arwyneb, a meddyginiaethau chwysbarol, yn dra gwas-

anaethgar. Yr oedd rhai yn meddwl, yn enwedig yr henafiaid, mai twymyn wedi ei throsglwyddo i'r coluddion ydoedd. Ond oddiwrth effeithiau y chwysdarth, arweinir ni i'r grediniaeth mai gorlif, trwy ataliad sylweddau heintus sydd yn cael eu trosglwyddo i'r manau hyny; o herwydd, mor fuan ag y byddo y goddefydd yn dechreu chwysdarthu yn helaeth, bydd yn teimlo esmwythâd.

Mae yr effeithiau daionus yma yn ymddangos yn amlwg yn anhwylderau y coluddion yn gyffredinol. Mae Dr. Mosely, yn ei waith ar afiechyd hinsoddau poethion, yn anog yn egniol i weinyddu chwys-beiriau a thwym-olchiadau, yn anhwylderau y coluddion o bob dysgrifiad. Y mae hyny yn denu yr hylifoedd o'r coluddion i'r croen, a thrwy eu priodoledd gynhesol ac ymlaesol, maent yn profi yn hynod rinweddol. Mae yr arwyneb, a'r aelodau, yn yr anhwylderau yma, yn welw ac oer; oddiwrth hyn canfyddwn fod mantol y corff wedi colli. Mae enciliad y gwaed, yn nghyd a'r gorchwyliaethau estronol, os na fydd y croen yn eu bwrw allan, yn profi yn adwythig, ac yn ffyrnigo y coluddion.

Yr Eisglwyf *(pleurisy.)*—'Cefais fy ngalw,' medd yr enwog Dr. Beach, 'pan oedd y goddefydd yn ymddangos yn marw, gan yr un achos ag y crybwyllwyd. Yr oedd y cynhyrfiad ar y *pleura* (neu femrwn sydd tu mewn i'r ddwyfron) fel yr oedd y teimlad yr un modd a phe buasai picellau yn gwânu y fan, a'r anadl yn mron a darfod yn llwyr. Yn yr achos yma, pan oedd yr afiechyd yn bygwth dinystrio y bywyd yn ddiatreg; a phan yn brin y gellid cael meddyg yn Ewrop nac America na fuasai yn tynu ymaith yr hylif bywiol, (ac os byddai y claf byw ar ol y waith gyntaf, mynychid hyny bob dydd, neu ddwywaith y dydd, tra byddai byw,) dilynais y dull a gymeradwywyd yn flaenorol,

sef, adalw y gwaed llygrol i'r arwyneb, trwy gynnyrchu chwysdarthiad helaeth; a chefais yr hyfrydwch, amryw weithiau, o ganfod llarieiddiwch y boen yn ddisymwth, yn gydfynedol âg adferiad y goddefydd, mewn ychydig ddyddiau.'

Y Parlys Mud *(apoplexy.)*—Yn yr anhwyldeb yma, y cynllun y crybwyllwyd am dano a ddilynir gan lawer gwell effeithiau na gollyngiad gwaed. 'Nis gall neb feddwl,' medd Dr. Beach, 'y fath effeithiau dymunol y mae cynnyrchu chwysdarthiad yn ei gael yn yr amgylchiad yma. Nid gormodedd o waed yw yr achos o'r parlys mud; ond mae yr anhwyldeb yn cyfodi oddiwrth annghyfartalrwydd y cylchrediad. Mae y gwaed yn encilio o'r arwyneb, a'r aelodau, ac yn ymdywallt i'r ymenydd, nes ei orlenwi. Y feddyginiaeth, ynte, ydyw cyfartalu y cylchrediad. Ni fethais erioed atal yr afiechyd, yn enwedig yn y dechreu.'

Llewygfeydd.—Yn hyn eto y mae y driniaeth flaenorol yn llawn mor effeithiol. Medd Dr. Beach,—'Ni wybum erioed i hyn fethu rhoddi esmwythâd. Cefeis fy ngalw ychydig amser yn ol at ddyn oedd wedi cael ei flino am flynyddoedd gan ddirdyniadau; ac yr oedd un meddyg enwog yn y dref yma wedi ei waedu amryw weithiau, heb weini dim esmwythâd, ond dros ychydig amser. Pan aethum ato, cafodd y driniaeth ei gwrthdroi yn hollol, ac arferwyd moddion i ddenu yr hylif o'r ymenydd i'r arwyneb a'r aelodau. Ni wnaed fawr o ddim arall ond baddio ei draed yn nechreuad y llewyg. Rhoddwyd cymaint o *ley* yn y dwfr ag oedd yn ei wneuthur yn llym wrth ei brofi. Y driniaeth yma, mewn ychydig amser, a effeithiodd iachâd. Yr wyf yn meddwl na roddais ond ychydig gyffyriau.' Mewn llewygon a llesmeiriau, mae baddio y traed bob amser yn fuddiol.

Y FAMWST *(hysterics.)*—Yn yr afiechyd yma, mae yr aelodau yn arferol o fod yn oerion, yr arwyneb yn welw, yn gydfynedol â rhyndod *(chills.)* Mae yr un egwyddor yn achosi hyn ag y soniwyd am dani yn flaenorol. Maė meddygon yn gyffredin yn arfer gwaedu yn yr anhwyldeb yma, er fod gwendid yn ei achosi; ond gall pawb ganfod fod hyny yn gwneuthur yr afiechyd yn waeth. Dylai y driniaeth fod yr un a gymeradwywyd. Bydded i'r traed a'r arwyneb gael eu baddio gyda dwfr twym, a *ley* gwan ynddo, ac arferer y moddion a gymeradwywyd yn flaenorol i gynnyrchu chwysdarthiad.

CRYD A THWYMYN *(ague and fever.*—Yn yr anhwylderau hyn eto, yn enwedig yn y gorsaf oer o honynt, y mae meddyginiaethau cynhesol tumewnol, yn nghyd a brydaniaeth yn allanol, yn foddion hynod o fuddiol ac effeithiol. Mae gweinyddu y cyfryw cyn cyfnod y dwymyn, yn gwellhau, neu, o'r hyn lleiaf, yn lleihau, angerdd a pharhad y dwymyn. Mae parhad yr orsaf boeth bob amser yn gyfartal â'r orsaf oer; am hyny, y meddyginiaethau sydd yn byrhau neu yn llarieiddio yr orsaf oer, o angenrheidrwydd a fyrha yr orsaf boeth. Dylai y goddefydd, gan hyny, gael ei orchuddio gyda dillad yn y gwely, a rhoddi priddfeini poethion, neu gostrelau yn cynnwys dwfr poeth, wrth ei draed a'i ochrau, hyd oni byddo chwysdarthiad wedi cymeryd lle. Mewn rhai achosion, mae dylanwad yr oerfelgarwch gymaint yn y corff, fel y mae yn anhawdd cynnyrchu gwrthweithrediad. Nid oes dim ond brydaniaeth, yn y cyflwr hwnw, a ddichon gynnal bywyd y goddefydd.

POEN YN Y PEN.—Ceir fod y cynllun blaenorol yn ddefnyddiol, trwy ei fod yn denu yr hylifoedd o'r pen i'r aelodau, ac yn llarieiddio y boen sydd yn cyfodi oddiar amrywiol achosion. Poen yn y pen, ag sydd yn

cyfodi oddiwrth *brinder* neu *lethiad* y *mislifiad*, trwy faddio y traed, ac arfer y baddon hyd at y cluniau, yn fynych a wellheir, heb arfer un feddyginiaeth arall.

Dyfrglwyf y Pen.—Mae y moddion blaenorol yn fuddiol ac yn effeithiol hynod yn yr anhwyldeb peryglus yma. Baddio y traed a'r arwyneb, gyda chymhwyso golchiadau claiar, neu oerawl, at y pen, sydd gymhorth galluog i leddfu y gweithrediad enynawl.

Y Chwydd Gwyn.—Yn y chwydd gwyn, a'r fath anhwylderau poenus ereill, cymhwysiad brydaniaeth, mewn ffurf o ager, sydd gydfynedol â'r effeithiau goreu; ac yn wir, mae yn wellhad cyflawn weithiau. Mae rhai wedi cael eu gwellhau yn y modd yma, ag oeddynt wedi trechu medrusrwydd y meddygon enwocaf. Cymhwysiad priodol, yn ol yr egwyddor yma, a leddfa boen angerddol y chwydd gwyn, a'r cyffelyb, mewn undeg-pump neu ddauddeg mynyd; a thrwy fynychu y cymhwysiadau, gwna yn hollol iachau ac atal poen echrydus y goddefydd.

Enyniad y Llygaid (*ophthalmia.)*—Mae yn anhawdd gwneuthur i'r cyfryw nad ydynt yn adnabyddus o hyny, gredu fod y fath effeithiau iachusol yn dilyn y moddion a gymeradwywyd, mewn achosion o enyniad y llygaid. Baddio y traed, ac hefyd yr arwyneb, unwaith neu ddwy y dydd, a leiha y boen a'r enyniad yn y pen. Nid yw hyn yn ymddangos yn ddyeithr i'r dynsoddwr, neu y meddyg sydd yn deall natur afiechyd. Gwelant yn y fan yr achos, ac hefyd yr arddangosiad o iachâd.

Gellid myned yn mlaen, a lluosogi anhwylderau ag y mae y driniaeth chwysbarol yn hynod o fuddiol ynddynt; ond y mae digon wedi ei adrodd i ddangos y pwysfawrogrwydd a'r defnyddioldeb o honi, yn gystal a rhoddi meddylddrych o'r achosion ereill yn mha rai y mae y fath driniaeth yn angenrheidiol.

Mae yr egwyddor, neu y driniaeth, grybwylledig, yn ëang iawn. Mae yn anhawdd gwybod pa gymaint o fathau o afiechyd a ellid eu trin yn y fath fodd; ond y mae yn ddiameu fod agos y cwbl ag y mae yr egwyddor y crybwyllwyd am dani yn gymhwys iddynt; a bod mabwysiadu cynghawsedd wrthwynebol i'r hyn ag a achosodd yr afiechyd, yn briodol agos bob amser. Er esiampl, gwellheir suredd y cylla gydag *alkali*, sylwedd hollol wrthwynebol i suredd. Y clefri poeth a achosir trwy fwyta ymborth anifeilaidd, ac a wellheir trwy fwyta ymborth llysieuaidd. Mae yn beth naturiol fod moddion gwrthwynebol yn gwellhau afiechyd, fel mae dwfr oer yn gwellau llosg tân, ac enyniad lleol, megys yn y llygaid, poethder anarferol y pen, &c. Ond byddai yn ffolineb o'r mwyaf gymhwyso dwfr oer at y traed, i ddenu gorlawnder y gwaed o'r pen; ac felly y mae gwres yn ofynol mewn un achos, ac oerni yn y llall. Ond y mae rhai yn y byd nad ydynt yn canfod hyn; ond, fel Sangrado, yn Madrid, â'i ddwfr oer, yn llofruddio eu cyd-greaduriaid, ac yna yn ymdrechu cyfiawnhau eu hunain, eu bod yn gwneuthur yr hyn sydd oreu er eu lles.

## OERNI, A'I DDYLANWAD GWELLADWY.

Rhoddir dysgrifiad yn ganlynol o'r cymhwysiadau oerion. Mae y dosbarth yma o'r pwysfawrogrwydd mwyaf, ac wedi bod ormod o amser allan o arferiad yn ein hymgeisiadau i leddfu dyoddefiadau yr hil ddynol. Mae cymhwysiadau oerion yn ofynol mewn twymynau uchel, cleisiau, ysigiadau, enyniadau, llygaid dolurus, pigiadau gwenwynig, &c. Yn awr, edrychwn ar y rheswm o gymhwyso oerder. Y mae, yn mhob achos, yn rhwystro enyniad gormodol. Mae yn ddeddf yn natur, fod swm anarferol o waed yn rhuthro rhag y

blaen i unrhyw barth enynawl. Fel prawf, canfyddir mor fuan y mae yr amrantau yn chwyddo, pan eu tarewir; neu gwelwyd manau yn chwyddo wedi pigiadau cacynen. Yn awr, mae y chwydd hwn yn cael ei achosi, mewn rhan, trwy fod y cnawd wedi ei orlenwi â gormodedd o waed. Ac eto, y mae yn ddeddf arall yn ein natur, fod llai o waed yn myned i unrhyw barth fyddo yn oer, a mwy i'r parth a fyddo yn dwym. Fel prawf, yr ydym, yn y gauaf, yn dyfod i'r tŷ gyda dwylaw, gwyneb, clustiau, &c., yn wŷn ac oer; ond gwelwn y fenyw fwyn, yn eistedd wrth y tân, yn goch gan wres. Wrth y dull yma o ymresymu, gwelir paham y mae oerni yn cael ei gymhwyso; ac hefyd, gellir dysgu yn mha achosion y mae yn ofynol. Yn mhob achosion lle y mae eisieu rhwystro enyniad a chwydd, a lle mae chwydd wedi cymeryd lle, ac eisieu ei symud, dylid arfer moddion oerawl. Yr un modd, gallwn ddysgu mor effeithiol y gellir gwneuthur hyny, trwy gofio, os aroswn allan yn yr oerni, a rhewi y glust, y bydd hyny yn anfon pob dyferyn o waed o honi, nes y bydd can wyned a'r eira. Yn mhob achos yn gyffredin, gradd mwy o oerni a ateb y dyben mewn enyniad. Bydd yr effaith, bob amser, yn gwahaniaethu yn unig yn y graddau o boethder neu oerni a fyddo yn cael ei gymhwyso. Gwna oerni, bob amser, rwystro y gwaed i ruthro i'r parth; hyny yw, gwna atal enyniad a chwydd, yr hyn sydd ofynol i ni wneuthur.

Wedi profi fod cymhwysiadau oerion yn angenrheidiol a buddiol, y peth nesaf yw, Pa fodd y mae hyn i gael ei gyflawni? Pa foddion a ddefnyddir? Gellir dywedyd, fod amrywiol foddion a gyflawna y dyben; ond y modd rhataf, hwylusaf, destlusaf, a goreu, i gymhwyso oerder, yw dwfr oer. Oerni, ynte, sydd yn cael ei gymhwyso mewn achosion o enyniad o wahanol ddulliau. Yn enyniad yr ymenydd, y mae

cymhwysiad o ddwfr oer yn fuddiol iawn. Mewn rhai achosion o'r *typhus*, mae golchiadau, a thywalltiadau o ddwfr oer, yn gydfynedol â buddioldeb mawr. Hefyd, mewn pob afiechyd twymynaidd, lle mae tymheredd y corff uwchlaw ei wres naturiol, dylid ei arfer; ond nid mewn clefydau tarddiadol. Mewn gwaedlifoedd, gellir arfer dwfr oer yn llwyddiannus. Mewn gwendid ac enyniad y llygaid, mae yn rhoddi tôn a gweithrediad iachus iddynt. Mewn cleisiau, ysigiadau, a llosgiadau, y mae cymhwysiad o ddwfr oer yn dra defnyddiol. Weithiau cafwyd ei fod yn ddefnyddiol mewn ffurf o faddon cawodog *(shower bath ;)* ond y mae brydaniaeth, yn y rhan fwyaf o afiechyd, yn fwy effeithiol a rhinweddol. Mae oerni agos yn ddigyfnewid, pan fyddo yn cael ei gymhwyso am hir amser, ac yn ddisymwth, yn hollol groes i natur. Wrth ei gymhwyso, yn enwedig pan fyddo y cyfansoddiad yn wanaidd, y mae yr ergyd yn ormod; o herwydd y mae yn angenrheidiol i wrthweithrediad neu ymdrech yn natur gymeryd lle; ac oni bydd digon o nerth yn y cyfansoddiad i ddwyn hyny oddi amgylch, gall cymhwysiad o ddwfr oer brofi yn angeuol. Gan hyny, pan fyddo yn cael ei gymhwyso yn y cyflwr hyny, gellir ei ystyried fel gelyn tra dinystriol.

Medd Dr. Beach, un ag sydd wedi profi effeithiau y ddau,—'Trwy y cwbl a'r oll o'm harferiad meddygol, profais fod brydaniaeth yn cael effaith mwy iachusol, mewn iechyd ac afiechyd; ac am hyny yn fwy cydrywiol â'r cyfansoddiad.'

Er fy mod wedi rhoddi pwys mawr ar yr angenrheidrwydd o gynnyrchu gwres a chwysdarthiad mewn pob afiechyd, yr wyf am i bawb ddeall, nad wyf yn cymeradwyo hyny fel ag i esgeuluso pob moddion priodol ereill. Sylwais yn fwy helaeth ar hyn, am fod meddygon yn mabwysiadu gollwng gwaed yn hytrach

na chwysdarthiad. Nid ydwyf, yn y rhagdraith yma, wedi ceisio dwyn sylw at yr ymgarthion ereill, am nad oes cymaint o wahaniaeth yn ein golygiadau ag sydd mewn perthynas i gyfundraeth fân-wythenog y croen, fel y mae yn ymddangos oddiwrth y feirniadaeth ar driniaeth W. H. Harrison, Llywydd yr Unol Daleithau, gan y Dr. S. A. Gallap, Woodstock, Vt. Mae efe yn profi y gallasai y driniaeth a gafodd gan ei feddygon fod yn achos o'i farwolaeth, a'i bod yn driniaeth hollol gyfeiliornus. Dywed ei fod yn gorfod cyhoeddi hyn, i'r dyben o wneuthur ymdrech i gael ymadael â llwyth mawr oedd ar ei feddwl. Yr afiechyd oedd enyniad yr ysgyfaint; a chafodd y feddyginiaeth arferol yn ol yr hen ddefod ei gweinyddu, sef gollwg gwaed, *mercury*, ac *opium*. Ac fel dyn wedi synu, mae yn tori allan yn y geiriau canlynol.—'Beth sydd i feddwl o'r fath driniaeth yn yr achos yma!'

## AFIECHYD A'I DRINIAETH.

### TWYMYN ENYNAWL GYFFREDIN. *(SIMPLE INFLAMMATORY FEVER.)*

Arwyddion.—Mae y dwymyn yma yn dechreu gyd ag argylch o ryndod a phoethder,—croen poeth—y llygaid yn gochion—gwaedgur cyflym, llawn, a rheolaidd—syched mawr, yn enwedig am ddwfr oer—tafod yn wyn—lleisw yn lliwiedig, ac o fesur bach—yr ymysgaroedd yn rhwym—anadliad cyflym—ymroad mawr yn y gwaed i'r pen—casineb mawr at dwrf—ac weithiau, gorphwyllder.

Ffafriol.—Gwaedlif ysgafn o'r ffroenau—chwysiad cyffredinol—lleisw llwydaidd, cymmysglyd pan oero—gwaedgur yn dychwelyd i'w sefyllfa naturiol—yr arwyneb yn dychwelyd i dymheredd naturiol, neu ireiddlyd.

Anffafriol.—Gorphwyllder parhaol—ymarllwysiad helaeth o leisw gloyw yn dyfod yn ddisymwth—arllwysiad dyfrllyd, a gormodol, o'r ymysgaroedd—chwys mawr ac oer—lleisw heb waelodion.

Achosion.—Oerfel, neu ataliad disymwth y chwysdarth—ymegniad anghymedrol—ataliad disymwth yr ymgarth arferol, &c.

Triniaeth.—Canfyddir yn eglur oddiwrth natur clefyd enynawl, y dylid ymdrechu lleihau yr enyniad, i'r dyben o ragflaenu yr anffawd a allai gyfodi oddiwrth

hyny. I gyflawni hyn, mae yn ofynol gwaghau y cyfansoddiad, nid trwy waedu, ond trwy ddwyn yn mlaen y didoliadau a'r ymgarthiadau.

Yn y lle cyntaf, os bydd y corff yn rhwym, ac heb dueddu i gyfogi, rhodder dogn o'r carthbair cyffredin; ond os bydd y cylla yn bwrw pob peth allan, gweinydder cyfogbair tyner, gan ofalu am edrych na byddo y cylla yn eisteddfod yr enyniad. Os bydd felly, mae cyfogbair yn anaddas. Carthbair a leihâ wres annaturiol y corff, a isela y gwaed, ac a symud y boen o'r pen. Pan ddarfyddo effaith hyn, gweinydder chwysbair; llonaid llwy dê o'r dyferion chwysbarol, *sudorofic drops*, mewn llonaid cwpan dê o drwyth *catnip*, neu balm, bob dwy awr, hyd oni byddo y goddefydd wedi chwysu yn dda.

Yn y lle nesaf, bydded i'r croen, neu yr arwyneb, gael ei olchi gyda dwfr *ley* gwan, neu ddwfr ac ychydig *salaratus* ynddo, a bydded i hyny gael ei fynychu gymaint a thair neu bedair gwaith yn y dauddeg-pedair awr, neu mor aml ag y byddo y croen yn dyfod yn sych a chraslyd. Mae yr ymolchiad cyntaf, yn gyffredin, yn symud y gwres pigiadol, yr hyn sydd yn arferol o ganlyn twymyn. Mae yn lleihau y boen, a'r cynhyrfiad yn y rhedwelïau; a thrwy ei effaith cymhellawl ar y mân wythenau, mae yn dwyn yn mlaen chwysdarthiad; ac, yn fyr, y mae yn cael effaith iachusol ar yr holl gyfansoddiad. Yn mhellach, i gyfartalu y cylchrediad, bydded i'r traed gael eu baddio a'u golchi yn y cymmysgedd uchod, wedi hyny, rhodder sugaethen o flawd gwenith a mwstard, wedi ei gymmysgu â gwinegr, wrth wadnau y traed. Os bydd poen mawr yn y pen, golcher ef â rhan gyfartal o winegr a dwfr. Gellir rhoddi ychydig halen ynddo.

Bydd yn ofynol rhoddi diodydd teneuon i'r claf; megys, trwyth *catnip*, balm, a gellir weithiau arfer dwfr *cream of tartar*. Mae yn oeri, yn rhyddhau, ac

yn effeithio yn ffafriol, ar beiriannau y dwfr. Cymerer o *cream of tartar*, hanner wns; siwgr gwyn, pedair wns; mewn tri pheint o ddwfr. Gellir cymeryd hanner peint o'r drwyth pan fyddo achos yn gofyn. Os bydd anesmwythder, a diffyg cwsg, rhodder deg gronyn, ychydig yn llai na hanner llonaid llwy dê, o'r powdr chwysbarol *(diaphoretic powder)* bob nos. Gellir hefyd gymeryd y powdr uchod, neu un belen o *ipecacuhana*, dair neu bedair gwaith y dydd. Os bydd yn angerddol ac ystyfnig, dylid gweinyddu carthbair bob dydd, neu o leiaf bob yn ail ddydd; a digon o'r powdr chwysbarol i gario allan chwys tyner. Wedi dilyn y driniaeth yma ddau neu dri diwrnod ar ol dyfodiad y clefyd, os bydd y gwaedgur yn parhau yn llawn a thyn, rhodder undeg-pump o ddyferynau o fwydlyn bysedd cochion *(tincture of fox gloves,)* mewn tê *catnip*, neu balm, dair gwaith y dydd. Lleiha hyn y gweithrediad llestrog a'r cynhyrfiad cyffredinol.

Trefniad Ymborth.—Dylai yr ymborth fod yn ysgafn, megys grual blawd Indiaidd, neu geirch, uwd bara càn, bara crasedig, bara a dwfr; ac hefyd wahanol ffrwythau aeddfed, megys afalau rhostiedig, &c. Ni ddylai y goddefydd gael dim o natur gynhyrfiol, oddieithr fod gwendid mawr at ddiwedd y clefyd. Yna gellir arferyd maidd gwin, &c., gofaler am gadw ystafell y goddefydd yn lân. Taeneller gwinegr ar hyd y llawr, a gwyntyller yr ystafell yn aml ag awyr bur.

---

## TWYMYN BARHAOL GYFFREDIN *(COMMON CONTINUED FEVER.)*

Mae y clefyd hwn yn ganolradd rhwng yr enynawl a'r *typhus*. Yn gymysgedd o'r dull llarieiddiaf o'r naill

a'r llall mae y dwymyn barhaol yn dygwydd yn fwyaf cyffredin. Mae yr afiechyd hwn i'w gael mewn gwahanol ddulliau, tebyg iawn ar amserau i'r enynawl, oddieithr fod y goddefydd lawer yn wanach. Dechreua ar amserau gyd ag agwedd neu gymeriad yn dynodi y *typhus*, neu y dwymyn erïaidd, pa un a geir yn ganlynol.

Arwyddion.—Dechreua gyda gorsaf oer, yn nodweddu lludded ac anesmwythder—meddwl dyryslyd—gwaedgur gwanaidd a chyflym—mawr ddiflasdod at fwyd; yna daw poethder a gwrid, a chroen poethlyd a sychlyd, gyda gwaedgur mwy bywiog—curiad syfrdanus yn y pen—gwrthwyneb mawr i oleu a thwrf. Y tafod, sydd ar y dechreu yn wyn, yn dyfod yn sychlyd a llwyd-dywyll, fel y mae yr afiechyd yn myned rhagddo; mae yr ymysgaroedd yn farwaidd, yr arllwysiadau yn feddal, ac o liw clai. Mae y lleisw, yn gyffredin, o liw coch—weithiau yn llwyd; ac yn hollol heb waelodion.

Os bydd i'r afiechyd gael ei oddef i fyned yn mlaen, bydd yr arwyddion hyn yn parhau yn aml am bump neu chwe diwrnod, oddigerth ychydig ddyspeidiad yn y boreu; ond yn gyffredin, mae yn cynnyddu yn y nos, weithiau i radd o orphwyllder.

Ffafriol.—Y tafod yn dyfod yn lân a gwlyddaidd—y dwymyn a'r gwaedgur yn cymedroli—yr arwyneb yn wlyddaidd—chwant bwyd, ac ystyriaeth, yn dychwelyd yn raddol.

Anffafriol.—Hurtrwydd, a gwastadol synwyrgoll—ymlediad canwyll y llygaid—anadliad cyflym—cipdyniadau y cyhyrau—ymbalfalu â dillad y gwely—y gwaedgur yn ymlaesu.

Achosion.—Y mwyaf cyffredin, cymhwysiad oerfel at y corff, mewn gwendid, wedi ei gynnyrchu gan flinder, neu fawr ludded—colli cwsg—ymroad dwys i fyfyrdod—prudd-der a thrwm-frydedd—mwythfoddiad

annghymedrol—gollyngiad gwaed—carthbeiriau cryfion, &c.

Triniaeth.—1. Lleihau cynhyrfiad y rhedwelïau.

2. Adferu y didoliadau a'r ymgarthiadau.

3. Cyfartalu y cylchrediad.

4. Symud cyd-dyriad lleawl.

5. Gyru ymaith o'r cyfansoddiad achos y cynhyrfiad.

I ddwyn yn mlaen yr arddangosiad yma, gweinydder yn y dechreu gyfogbair, yn enwedig os bydd arloesygiad, neu duedd cyfogi. Par hyn, nid yn unig ymegniad grymus ac iachusol, trwy ddylanwadu ar y cylla; ond hefyd, y parthau cyfagos, a hyd yn nod yr holl gorff; y croen, a pheiriannau ymgarthiadol ereill; ac weithiau dwg oddi amgylch wrthdroad.

Wedi i effaith y cyfogbair ddarfod, gweinydder y carthbair cyffredin. Oddiwrth arddangosiad heintus y cylla a'r chwibol gosmeithiol, canfyddir fod y ddau ddosbarth hyn o gyffyriau yn angenrheidiol. Bydd yn ofynol gweinyddu y carthbair, yn achlysurol, trwy yrfa y clefyd, bob dydd, neu bob yn ail ddydd, neu bob tri diwrnod, yr hyn pellaf. Golcher yr arwyneb, a baddier y traed, yn fynych â *ley* gwan, neu ddwfr *salaratus.*

Mae yn angenrheidiol hefyd gweinyddu y powdr chwysbair, i'r dyben o gadw terfyniad, neu wlyddeiddio y croen. I'r dyben yma, gweinydder y powdr chwysbair, y nos; gwna leihau y boen a'r anesmwythder, cynnyrchu cwsg, a lleihau cynhyrfiad y rhedwelïau.

Mae yfed diodydd teneuon yn llesol yn y rhyw yma o glefyd, fel clefydau ereill, megys tê *catnip*, balm, ysgall bendigaid *(blessed thistle,) spearmint*, *Virginia snake root.* Os na fydd y goddefydd mewn chwys mawr, gall yfed ychydig ddwfr oer, dwfr *cream of tartar*, *lemonade*, *&c.*

Mae diodydd surion yn hynod o adfywiol ac addoeraidd. I symud cyd-dyriad lleol, defnyddier meddygolch

twym, megys, *hops*, *tansy*, a *wormwood*, wedi eu berwi mewn hanner yn hanner o ddwfr a gwinegr. Gwlycher gwlanen, a chymhwyser at y bol, neu unrhyw fan ag y byddo y poen, neu y cyd-dyriad. Cymhwyser yn dwym, gan ei newid yn aml.

I symud poen yn y pen, rhodder sugaethen o fwstard tu ol i'r gwddf, a than wadnau y traed.

Yr unig foddion i atal sefyllfa o wendid canlynol, yw lleihau yr arwyddion enynawl. Ar y dechreu, gellir gwneuthur hyny trwy y driniaeth a osodwyd i lawr. Os ymddengys arwyddion pydrol, cymerer llonaid gwinwydr o furym bedair neu bum gwaith y dydd. Ac os bydd y cylla yn gynhyrfus, ac yn bwrw allan y carthbeiriau, gweinydder chwisdrellau cymysgedig; o dê *catnip*, un peint; llaeth, hanner peint; *molasses*, llonaid gwinwydr; *sweet oil*, hanner llonaid gwinwydr: rhodder un bob tair neu bedair awr, hyd oni byddo cynnwysiad y coluddion wedi symud ymaith. Os bydd ataliad y lleisw yn poeni y goddefydd, rhodder llonaid llwy dê o *spirits of nitre*, bob pedair awr. Ac oni bydd hyny yn effeithio, rhodder y cyffyriau a gymeradwyir yn y dyfrglwyf. Ni ddylid arfer dim gwresog na chynhyrfiol yn y gorsaf cyntaf o'r clefyd hwn. Dylai y lluniaeth fod yn gynnwysedig o rual, dwfr haidd, tê crystyn, dwfr *rice*, bara a dwfr; ac yn y gorsaf diweddaf gellir, os bydd gwendid mawr, arferyd cawl llymeirch, &c., a maidd gwin.

---

## TYPHUS, NEU Y DWYMYN ISEL GIEUEDD.
## *(TYPHUS, OR LOW NERVOUS FEVER.)*

Arwyddion.—Mae y clefyd hwn, yn aml, nifer o ddyddiau yn gormesu ar iechyd y goddefydd, cyn iddo

wybod ei natur. Dechreua gyda dihoeniad cyffredinol —iselder ysbryd—diffyg awydd at ymborth—trwm ocheneidio—gwendid—anhunedd—a phoen yn y pen a'r cefn. Dilynir ef â gwaedgur isel a chyflym, ac weithiau dyspeidiol, â thafod sych a llwydaidd—syfrdandod—âg arloesigiad a chyfogiad achlysurol—â lleisw llwydaidd—â diffyg anadl—ac yn neillduol â hurtrwydd a gorphwyllder.

Bydd yr afiechyd hwn weithiau yn ymddangos mewn dull mwy angerddol, a elwir, typhus adwythig *(malignant typhus.)*

Mae yn nodweddadwy gan frychau, neu ysmotiau yn y croen, o liw cochwyrdd, neu ddu. Ymgarth drewllyd, a gwaedlif o'r genau, llygaid, a'r ffroenau; a'r dannedd yn orchuddiedig gan grestyn, a lliw llwydaidd. Pan ddygwyddo trwy heintnaws, mae yn cael ei ddarnodi oddiwrth y *typhus* cyffredin, trwy fod yr arwyddion hyn yn dyfod yn fwy disymwth.

Ffafriol.—Os tua y seithfed, nawfed, neu ddegfed dydd, bydd y tafod yn dyfod yn fwy ireiddlyd, gyda helaethrwydd o boeredd—yr ymysgaroedd yn rhydd—y croen yn ireiddlyd—crawnrediad o un, neu y ddwy glust—crugdarddiad o amgylch y gwefusau—adferiad chwant bwyd.

Anffafriol.—Rhyddni gormodol—chwys oeraidd a nychlyd, gyda mynych lewygon—y tafod, pan estyner allan, yn crynu—y traed a'r dwylaw yn oerion—gwaedgur arafaidd hedegog—cyffro yn y cyhyrau—coll y golwg a'r clyw.

Achosion.—Achosir yn aml trwy luniaeth anmhriodol ac anfaethol—chwantusrwydd gormodol—budreddi sawrhedion *(effluvia)* oddiar sylweddau anifeilaidd a llysieuaidd llygredig—weithiau, trwy heintnaws o achos dynoethiad, neu ddynesiad at y claf. Mae yn neillduol felly yn yr agwedd adwythig, yn mha nodwedd yr

ymddengys weithiau fel pla, mewn carchardai, gwersylloedd, a threfydd. 'Mynych boerlifiant, arferiad rhy helaeth o gyffyriau carthiadol, neu unrhyw arllwysiad gormodol arall, sydd yn tylodi y gwaed.'—Buchan.

Triniaeth.—1. Lleihau cynhyrfiad rhedwelïol, trwy argymhell yr ymgartholion i weithrediad iachusol.

2. Cyfartalu y cylchrediad.

3. Symud y cyd-dyriad lleol.

4. Cynnal i fynu natur y goddefydd, neu alluoedd y cyfansoddiad.

Cyfogbeiriau.—Yn y gorsaf dechreuol o'r clefyd hwn, neu ychydig ddyddiau wedi iddo ddechreu, mae cyfogbair yn hynod effeithiol. Gellir gweinyddu cyfogbair tyner, yn enwedig os bydd arloesygiad, neu duedd cyfogi, pwys, neu salwch, yn y cylla. Os na bydd yr anhwylder yn ymollwng trwy hyn, a moddion ereill a grybwyllir, gellir mynychu y cyfogbair unwaith bob tri diwrnod, un amser o flaen yr orsafedd wan. A lle mae ardymher neillduol yn anaddasu cyfogbair, yn yr orsaf ganol a'r olaf gellir ei esgusodi yn hollol. Mae gweinyddu cyfogbair yn y dechreu yn cael effaith iachusol, trwy ddadlwytho y cylla o'i chynnwysiad heintiol, a chynnorthwyo ymgarthiadau y croen, ac atal croniad y gwaed yn y rhanau tumewnol.

Carthbeiriau.—Carthbeiriau tyner ydynt hynod ddefnyddiol trwy yrfa clefyd y *typhus*, fel rheol gyffredin, bob yn ail ddydd.

Chwysbeiriau.—Yn mhlith yr holl ddarpariadau meddygol, nid oes un yn sefyll mor uchel a'r chwysbair, neu yr hyn a gynnyrcha chwys; oblegyd y mae yn esmwythâu y boen, bwrw ymaith y sylwedd heintiawl o'r corff, lleihau y poethder, a chynnyrchu gorphwysdra. Gellir gweinyddu y powdr chwysbair bob pedair awr, neu ddigon i gynnyrchu graddau cymedrol o chwys. Dylid cadw y croen yn wlyddaidd. Tri gronyn o

*ipecacuhana*, dair neu bedair gwaith y dydd, a effeithia hyny, yn nghyd â hanner dram o'r powdr chwysbair amser gwely.

Weithiau, wedi i'r dwymyn ymsefydlu, a chymeryd nodwedd ystyfnig, mae pob meddyginiaeth o natur boethaidd a chynhyrfus yn niweidiol. Yn y cyfryw amgylchiadau, rhaid newid y driniaeth i gyffyriau o natur oeraidd. Mae golchi y croen yn aml yn dra rhinweddol er llarieiddio y clefyd.

Fel diodydd, gellir defnyddio dwfr *cream of tartar*, *lemonade*, tê crystyn, maidd llaeth enwyn. Hefyd cwrw, wedi ei wneyd o amryw fath o wreiddiau a llysiau, a ellir ei yfed yn helaeth; megys *spicewood*, *sassafras*, cacamwci, *black alder*, a'r cyffelyb lysiau chwerwon, wedi eu berwi yn gryf, a'u melysu â *molasses* neu fêl, gan eu gweithio â burym.

Yn yr orsaf ymgrymawl, neu wan, bydd yn ofynol cynal galluoedd y cyfansoddiad, os bydd y croen yn sych, a gwendid mawr, *Madeira wine*, cymmysgedig â dwy ran o dair o ddwfr, llonaid gwinwydr yn achlysurol drwy y dydd. Porter, a burym hefyd, sydd yn rhinweddol. Deg dyferyn o *muriatic acid*, mewn llonaid gwinwydr o ddwfr *cammomile*, bob chwe awr, sydd fwy rhinweddol, os yr un, na gwin.

Os bydd poen mawr yn y pen, doder cymrwd mwstard o'r tu ol i'r gwddf, ac wrth wadnau y traed, a golcher y talcen â dwfr a gwinegr.

Mae yn dueddol, yn y *typhus*, fod un rhan yn boeth, a'r llall yn oer; yr hyn a achosir trwy annghyfartalwch cylchrediad y gwaed. Dalier wrth y rhan oer, *hops* wedi eu berwi mewn gwinegr, neu bupyr cochion *(cayenne pepper)* wedi eu berwi am ychydig amser mewn *whiskey*, neu wirod arall; yna gwlycher gwlanen, a chymhwyser at y parth oer.

Os bydd gwendid mawr yn parhau, a methu cyfodi

galluoedd y cyfansoddiad trwy y driniaeth uchod, yna gweinydder y powdr canlynol:—Hanner llonaid llwy dê o bupyr cochion, mewn llonaid gwinwydr o ddwfr mintys neu dê. Melyser gyda siwgr, a rhodder oll ar unwaith, dair gwaith y dydd. Os bydd arwyddion pydrol yn ymddangos, rhodder llonaid gwinwydr o furym da, a'r un faint o laeth. Melyser â *molasses;* cymerer yn un dogn, a mynycher dair gwaith y dydd.

Mae yn gyffredin yn dilyn y *typhus*, ddoluriau yn y cylla a'r coluddion. I wella y cyfryw, yfer dwfr *slippery elm*, ac ychydig furym yn gymmysgedig âg ef. Pan fyddo y doluriau yn bodoli yn y cylla, dylid gweinyddu chwystrellau, yn gynnwysedig o ddwfr *slippery elm.*

Os bydd chwydd yn yr ymysgaroedd, cymhwyser atynt dwymolchiadau, *hops*, a llysiau chwerwon ereill. Ychydig *rhubarb* a *magnesia*, fel carthbair, sydd hynod o rinweddol er esmwythâu a gwellhau doluriau y coluddion. Cymerer llonaid llwy dê o *rhubarb*, a'r un faint o *magnesia;* digon o siwgr gwyn i felysu hanner llonaid cwpan dê o ddwfr. Cymmysger y pethau uchod yn dda, a chymerer hwy ar unwaith, a hyny bob dydd, os bydd dolur mawr yn y coluddion.

Trefniad Ymborth.—Cadwer y goddefydd yn oer, ac yn esmwyth mewn meddwl a chorff. Cefnoger ef gymaint ag a ganiata natur y clefyd. Pan ddarfyddo y cynhyrfiad, gellir rhoddi lluniaeth maethlon, megys, potes cywion, uwd bara càn, a *rice.* Yn y gorsaf diweddaf, maidd gwin.

Gofaler am fod ystafell y claf yn lân, a chluder pob ymgarthion ymaith.

## TWYMYN DDYSPEIDIOL; NEU, GRYD A THWYMYN. *(INTERMITTANT, OR AGUE AND FEVER.)*

Yr amrywiol fath o glefydau dyspeidiol, a elwir felly oddiwrth y cylch yn mha un y deuant; megys, y cryd dyddiol, tri-dyddiol, pedwar-dyddiol, &c.

Arwyddion.—Dechreua cylch-lewyg y cryd, gyd ag ymstwrio ac anesmwythder; yr hyn a ddilynir âg ysgrydu, neu ryndod, a chrynu angerddol—syched mawr, ac weithiau cyfogi. Hyn a elwir yr orsaf oer. Yna y gwaedgur a gyfyd—y croen yn sychlyd—poen yn y pen—y tafod yn wyn—gyda holl nodweddiadau twymyn. Hyn a elwir, yr orsaf boeth. Yna egyr y chwysdyllau, a chwysiad helaeth a ganlyn; yr hyn, yn raddol, a dderfydd. Yr orsaf yma a elwir, y chwysadwy. Yn y cyfwng, rhwng y gorsafion hyn, y goddefydd a ymddengys yn llesg, yn fwy neu lai felly, ac â gwedd felyn-lwyd.

Ffafriol.—Anfynych y mae yr afiechyd hwn yn terfynu yn angeuol, yn y lledred gymmedrol. Pan fyddo cylch llewygon y cryd yn aros yn hwy nag arferol—tarddiadau oddi amgylch y genau a'r ffroenau sydd yn arwyddion da.

Anffafriol.—Cylch-lewygon y cryd yn rhagredeg eu hamser arferol. Yn yr amgylchiad yma, y mae weithiau yn rhedeg i'r clefyd parhaol. Mewn hinsoddau cynhes, arwyddion y *typhus* a ymddangosant gyda y dyspeidiol, lle maent yn fwy tueddol i derfynu yn angeuol. Yn y lledred hwn, lle mae gwrid mawr, neu ragdueddiad i'r *apoplexy* yn y goddefydd, angeu a gymer le yn yr orsaf oer.

Achosion.—Mwshedion *(miasma,)* neu awyr anmhur oddiar gorsydd, a sylweddau llygredig—yfed

dwfr sefydlog mewn lleoedd isel, neu afonydd sydd yn rhedeg yn araf—gwlith y nos—gorwedd mewn lleoedd llaith; a pha beth bynag a ddiflano neu a etyl y chwysdarth, neu a rwystra gylchrediad y gwaed yn y mân wythenau, a duedda y corff i gael ei orddiwes gan y cryd.

Triniaeth.—Mewn triniaeth gyfaddas, mae dau ddosbarth yn anhebgorol angenrheidiol.

1. Meddyginiaeth gryfhaol *(tonic.)*

2. Ymgymhellol; ac yn fynych cyfogbair.

Cydundeb y rhai hyn sydd yn tori i fynu yr afiechyd, ac yn dwyn iachâd buan a sefydlog. Mae, wrth drin y clefyd dyspeidiol, yn ofynol glanhau y cylla a'r coluddion; carthbair yn aml a fydd yn ddigonol Ond y ffordd fwyaf effeithiol, a'r gyflymaf, i iachâu yr anhwyldeb hwn, yw gweinyddu cyfogbair yn gyntaf. Mae yr afu a'r cylla mewn sefyllfa heintus a marwaidd; llysnafedd gwydn a bustlaidd a arllwysir wrth gyfogi. I'r dyben yma, cymerer y cyfogbair canlynol:—Cyfogbair cyffredin, dwy ran o dair; pupyr cochion, un ran. O hyn rhodder hanner llonaid llwy dê mewn dwfr, neu dê dail, *boneset*, neu *camomile*, bob dauddeg mynyd, hyd nes cymero cyfogiad le. Hyn sydd i'w roddi o flaen yr orsaf oer; ac, efallai, y tyr yr afiechyd ar unwaith. Os na ellir cymeryd y pupyr cochion, defnyddier y cyfogbair cyffredin. Os bydd ardymher, gwendid, neu sefyllfa y corff, yn galw, gellir esgusodi y cyfogbair, a gweinyddu y carthbair canlynol:—*Mandrake root*, *cream of tartar*, a *spearmint*, yr un faint o bob un. Cymerer llonaid llwy dê o'r powdr hwn, mewn llonaid cwpan dê o ddwfr berwedig, a lwmp bychan o siwgr ynddo, a chemerer hyn yn ddogn, bob chwe awr, hyd oni effeithio fel carthbair. Gwna hyn lanhau y cylla a'r coluddion, a darparu y cyfansoddiad gogyfer a derbyn meddyginiaethau cryfhaol *(tonics.)*

Yr Orsaf Oer.—Os bydd angen, gweinydder yn, neu ychydig o flaen, yr orsaf oer. Mae yn ofynol lleihau y grym a'r parhad; o herwydd ar yr amgylchiad hwn y mae ymddibyniaeth y gorsafion ereill o'r anhwyldeb yma. Os defnyddir moddion cyfaddas i fyrhau yr orsaf oer, yr orsaf boeth a fydd mewn cyfartalrwydd; ac yn fynych yr afiechyd a hollol wellheir. I'r dyben hwn, yn yr orsaf oer, yn ychwanegiad at y cyfogbair a'r carthbair, yfer tê ymgymhellawl, neu dwymawl, yn helaeth; megys *tê catnip*, *Virginia snakeroot*, *boneset*, *peppermint*. Mae y rhai hyn oll yn gymhwys i ateb y dyben hwn. Gorchuddier y goddefydd â digon o ddillad, i'w gadw yn gynhes, a photel o ddwfr poeth wrth ei draed, gan arfer moddion i gynnyrchu chwys.

Yr Orsaf Boeth.—Mor fuan ag y terfyno yr orsaf oer, rhaid newid y driniaeth. Tyner dillad y gwely ymaith, ac yn lle diodydd cynhes, rhodder diodydd oeraidd, megys *lemonade*, ac yn enwedig dwfr oer.

Yr Orsaf Chwysadwy.—Yn nghyfnod yr orsaf hon, ni ddylid cymeryd un math o ddiodydd cymhellawl, rhag cynnyrchu gormod o chwys.

Y Dyspeidiad.—Yn nghyfnod dyspeidiad y clefyd, dylid arfer y cyfryw feddyginiaethau ag a dueddont i atal cylchrediad y clefyd. Mae rhai meddygon yn ymddybynu yn hollol ar y *sulphate of quinine*. Ond y mae gwrthwynebiad i ymarferiad cyffredin o'r cyffyr hwn, oblegyd canfyddwyd fod peth o hono yn cynnwys *arsenic*, a'r arferiad cyffredin o hono a ddilynir â chwydd yn yr wyneb, yr afu, a'r ddueg, &c.

Pan fyddo pob moddion arall yn ffaelu, mae y mwydlyn gwin cryfhaol (*tonic wine bitters,)* agos yn anffaeledig. Cymered y goddefydd lonaid gwinwydr o hono, bob dwy neu dair awr, yn nghyfnod y dyspeidiad. Gwellheir y claf trwy y driniaeth yma yn fuan iawn, weithiau mewn dau neu dri diwrnod.

Cyfogiad.—Yn y clefyd dyspeidiol, mae y cylla mor gynhyrfus weithiau fel y mae cyfogiad yn dygwydd, ac yn atal meddyginiaethau i effeithio ag sydd yn angenrheidiol er iachâd, neu symudiad ymaith, y cryd-au. Pan ddygwyddo hyn, todder un dram o *salaratus* (*bicarbonate potassa*,) mewn hanner peint o ddwfr *peppermint*. O hwn rhodder llonaid llwy fwrdd, wedi ei felysu â siwgr gwyn, bob hanner awr, neu mor fynych ag y byddo cyfogiad yn dygwydd; ac os metha hyn, yna rhodder yn mhob llwyaid bump dyferyn o *laudanum*. Os bydd y meddyginiaethau blaenorol yn methu o herwydd gwendid, neu rhyw achos arall, cymerer un *scruple* o *sulphate quinine*, ac un *scruple* o bupyr cochion; rhaner hyn yn ddeg o bowdrau, a chymered y claf un o honynt bob dwy awr, mewn dwfr wedi ei felysu, pan fyddo y dwymyn heb fod arno.

Pan fyddo cryd a thwymyn ar blant, bydd yn anmhosibl gweinyddu dim ond *quinine*, a hwnw mewn modd gwlybyrog. I'r dyben hwn, cymerer, *quinine*, undeg-chwech gronyn; dwfr, dwy wns; o siwgr gwyn, digon i felysu y dwfr yn dda. Cymmysger oll yn nghyd. Dogn, llonaid llwy dê bob dwy awr, i blentyn rhwng dwy a phump oed. Y cymmysgedd canlynol sydd yn hynod effeithiol:—*French brandy*, un peint; *Peruvian bark*, un wns; *aloes*, hanner wns; *myrrh*, un wns; *oil of cloves*, pedwardeg dyferyn. Dogn, llonaid llwy fwrdd, hwyr a boreu, yn nghyfnod y dyspeidiad.

Trefniant Ymborth.—Yn y dyspeidiad, rhaid cynnal y goddefydd âg ymborth maethlon, hawdd ei dreulio. Ymborth llysieuol yw y goreu. Gall yfed yn helaeth o drwyth dail chwerwon, megys, *boneset camomile*, *snakeroot*, a *wormwood*. Cymered y goddefydd gymaint o ymarferiad yn yr awyr agored ag a allo; nid oes dim yn tueddu yn fwy at barhau y clefyd

dyspeidiol, na mwythfoddiad a segurdod. Nid oes un afiechyd gymaint dan awdurdod meddyginiaeth ag yw yr afiechyd hwn; ond trwy weinyddiad moddion annghyfaddas, gan feddygon anwybodus, mae rhai o'r peiriannau bywydol yn myned yn glwyfus. Ond gofal priodol mewn perthynas i'r ymborth, yn nghyd ag ychydig o'r mwydlyn gwin *(wine bitters,)* ddwywaith neu dair yn y dydd, a etyl ymosodiad a dychweliad y dwymyn ddyspeidiol.

---

## TWYMYN GERIAIDD. *(BILIOUS FEVER.)*

Mae y dwymyn yma o dan wahanol nodweddiadau; mae yn debyg i'r cryd mewn un agwedd, ac i'r dwymyn felen mewn agwedd arall. Mae yn fwy cyffredin, fel yr oll o'r clefydau geriaidd, yn y Taleithau Deheuol a Gorllewinol. Nodwedd geriaidd a ddylyn y *synochus*, neu dwymyn barhaol, pa un sydd wedi cael yr enw—clefyd geriaidd, yn y Taleithau canol a Deheuol.

Arwyddion.— Dechreua gyda dihoeniad, syrthni, poenau yn y cefn a'r pen, iasau, ac weithiau boethder gwridawg, yna bydd y cyfan yn boethder mawr, gyda chroen sychlyd, a phoenau llymdost yn y pen a'r aelodau—y tafod ar y cyntaf yn wyn, yna yn dyfod yn llwyd—cyfogi sylwedd geriaidd—y llygaid a'r croen yn felyn—gwaedgur cyflym, caled, a chymedrol o lawn. Yn neillduol, nodweddir y clefyd hwn gan ychydig o ddyspeidiad o'r clefyd yn y rhan foreuol o'r diwrnod.

Ffafriol—Hir ddyspeidiad o'r clefyd—dychweliad iachusol holl swyddogaeth y corff.

Anffafriol.—Byr ddyspeidiad o'r clefyd, sef yn y boreu—chwydd dolurus yn yr ymysgaroedd—ymgarthion dyfrllyd o'r coluddion—gorphwyllder parhaol.

Achosion.—Mwshedion (*miasma*,) unrhyw beiriant methiantus yn y corff; megys, yr afu mewn ansawdd farwaidd.

Triniaeth.—1. Lleihau angerdd gweithrediad y rhedwelïau.

2. Symud y tyndra, a'r ataliadau, yn y mân wythenau.

3. Glanhau y cylla a'r coluddion, ac adferu gweithrediad yn y cyfryw.

4. Adferyd y didoliadau a'r ymgarthiadau.

5. Cynnal grym y cyfansoddiad.

Mae yn ofynol, ar ddechreu y dwymyn yma, weinyddu cyfogbair, ac hefyd mynychu hyny, yn achlysurol, yn ol angerdd a pharhâd yr afiechyd.

Carthbeiriau.—Bydd yn angenrheidiol, wedi effaith y cyfogbair, a phan ddarfyddo arloesygiad y cylla, weinyddu peleni gwrtherïaidd, neu ynte y carthbair *mandrake*. Mewn achosion lle mae y tafod a llawer o bàn arno, a'r carthbair gwrtherïaidd heb ei lanhau, y mae y *mandrake* yn cwblhau hyny yn well na dim arall, trwy weithredu yn neillduol ar y cylla, yr afu, a'r coluddion. Dywed Dr. Beach, ei fod yn symud cyd-grynöad yr heintnaws o'r peiriannau yn fwy cyflym nag un moddion arall y mae efe yn adnabod.

Os bydd yr ymysgaroedd yn rhwym iawn, gellir ei weinyddu yn fuan ar ol gweithrediad y cyfogbair. Gellir gadael ysbaid chwe awr rhyngddynt. Gellir mynychu y carthbair yma bob yn ail ddydd, heb olygu sefyllfa yr ymysgaroedd. Mae y lles yn tarddu, nid yn gymaint oddiwrth waghau y coluddion o'u cynnwysiad, ond trwy fwrw ymaith y gorchwyliaethau heintus o'r cyfansoddiad, a chynhyrfu gweithrediadau iachus yr afu, y cylla, a'r coluddion.

Chwysbeiriau.—Mae yn anhepgorol yn hon, fel twymynau ereill, ofalu yn neillduol am sefyllfa y croen, yr hyn a esgeulusir yn resynus gan rai meddygon.

Ymddengys fel pe byddai yr ymdrech cyntaf o eiddo natur i effeithio hyn; am hyny, y cyfryw feddyginiaethau a ddylid arfer ag a effeithia neu a gynnyrchant chwys.

Dylid baddio y traed yn fynych mewn dwfr *salaratus*, ac yna gall y goddefydd gymeryd y dyferion chwysbarol, (*sudorific drops*,) neu y powdr chwysbair, a'u mynychu bob dwy awr, hyd oni chymero chwysiad le. Yfer hefyd dê *catnip*, neu ysgall bendigaid (*blessed thistle*) i gynnorthwyo eu heffeithiau. Mae y rhai hyn yn meddu priodoledd esmwythaol, a thrwy hyny y maent yn llonyddu y cynhyrfiad gïeuedd sydd yn dilyn y dwymyn yma. Weithiau, yn yr orsaf ganol a'r olaf, bydd y dyferion chwysbair yn rhy wresog, neu yn rhy gynhyrfiol, fel nas gall y claf eu goddef, na dim o'r natur. Yn y sefyllfa yma, bydd yn ofynol dirprwyo moddion ereill i gadw tueddiad i'r arwyneb, tri gronyn o *ipecacuhana*, yn belen neu bowdr, dair neu bedair gwaith y dydd; pelen o faint pysen gyffredin, wedi ei gwneuthur gyda dwfr, wedi toddi ynddo *gum arabic*, neu *molasses*. Neu gellir rhoddi yr *ipecacuhana* yn bowdr, bob tair neu bedair awr, hyd oni byddo chwysiad helaeth wedi cymeryd lle tros yr holl arwyneb. Mae yn gryfhaol a tharfgrydol.

Golchi yr Arwyneb.—Y cyfryw nad ydynt yn adnabyddus o'r rhinwedd a'r effaith o olchi yr arwyneb, nis gallant ystyried y gwerth o hono; eithr ni ddylai mewn un modd gael ei esgeuluso. Pan fyddo y goddefydd yn anesmwyth, ac yn methu cysgu, rhodder iddo ddeg gronyn o'r powdr chwysbarol, yn enwedig amser gwely.

Poen yn y Pen.—Mae yn arferol fod poen mawr yn y pen. I esmwythâu hyn, rhodder y traed mewn dwfr twym yn fynych, a rhodder sugaethen, o flawd a mwstard, wrth eu gwadnau. Golcher y pen â dwfr a

1. Rhaid lleihau y cynhyrfiad rhedwelïol, os bydd yn ormodol.

2. Cymhell gweithrediad iachus yn y cylla a'r afu, pa rai ydynt bob amser mewn sefyllfa afiachus a marwaidd.

3. Diwygio sefyllfa bydrol, neu fallaidd, yr hylifoedd.

4. Symud cyd-dyriad lleol.

5. Cynnal nerth y goddefydd.

I gwblhau hyn, sylwer ar y cyfarwyddiadau canlynol:—Yr unig driniaeth ag sydd ddyogel, yw cymhelliad *(stimulation,)* yn mhob achos ag y mae gwendid yn bodoli, neu ddyryswch yn y cyfansoddiad, yn enwedig yn y croen.

Y chwysdarth, trwy ba un y mae amryw bwysi yn cael eu harllwys yn ddyddiol, oddiwrth ddyn iach, pan fyddo wedi ei atal, y defnydd a ddelir yn y cyfansoddiad, os na chludir ef ymaith trwy ryw fynedfa naturiol arall, sydd yn cynnyrchu gweithrediad afiachus.

Mae y croen, yn enwedig, yn anweithgar yn y dwymyn felen, ac felly y mae yr afu. Oblegyd hyn, y geri, yn lle cael ei arllwys i'r *duodenum*, a gyfleir trwy y cyfan-gorff, gan gyrhaedd y croen, i'w fwrw ymaith; ond gan fod y croen yn anweithgar, a'r chwysdarth, mewn canlyniad, wedi ei atal, mae y bustl, neu y geri, yn cael ei ddal yn yr arwyneb. Oddi yma y mae sychder a melynrwydd y croen yn tarddu. Y cylla, a'r coluddion hefyd, ydynt barlysaidd, neu farwaidd; a thrwy hyny, collir awydd at fwyd, ac ant yn analluog i'w dreulio.

Gwelir, wrth hyn, yr angenrheidrwydd sydd i anog gweithrediad yn y cylla, y coluddion, yr afu, a'r croen, lle mae yn ddiffygiol. Ac nis gellir gwneyd hyn, ond yn unig trwy gymhellyddion.

1. Y cam cyntaf yw glanhau y cylla gyda chyfogbair.

2. Y coluddion, gyda charthbair bywiog. Yna, cy-

merer chwysbair, a doder y goddefydd mewn baddon dwfr, neu ager, o wres cymedrol, ar y cyntaf. Gellir ei boethi yn ol nerth y goddefydd, ond nid uwchlaw 120 o raddau ar wres-fesurydd Fahrenheit, hyd oni ymddengys chwys; a phan fyddo yn y baddon, dylai y goddefydd yfed yn achlysurol o dê *catnip*, neu ddail ereill. Pan yn myned o'r baddon, doder y goddefydd mewn gwely cysurus, a gorchuddier ef â dillad, i ddwyn yn mlaen chwysiad; a phan beidio y chwys, tyner ymaith y dillad yn raddol; yn unig gadawer digon ar y gwely i gadw y goddefydd yn gynhes a chysurus, ac i'w atal rhag cael oerfel.

Y Cylla.—Mae cynhyrfiad y cylla yn ystyfnig yn y dwymyn yma. Gweinydder cyfogbair tyner yn achlysurol; ac oni bydd hyn yn atal y cynhyrfiad, gweinydder y moddion arferol i atal cyfogiad, neu gwrthgyfogbair.

Y Coluddion.—Mae yn anhepgorol angenrheidiol gweinyddu carthbair bywiog yn y dwymyn felen. Mae y carthbair arferol yn rymus; gweinydder ef bob yn ail ddydd, os bydd tuedd mawr i rwymedd. Mae yr ymysgaroedd, yn fynych, yn ddolurus a chwyddedig; rhodder y pryd hyny *hops* a *wormwood*, wedi eu berwi mewn gwinegr, mewn côd wlanen, wrthynt; neu ynte, rhodder sugaethen fwstard.

Y Croen.—Mae o bwys dirfawr ofalu am y croen. Yfer yn helaeth o dê *boneset;* mae y llysiau hyn yn effeithio ar yr holl ymgarthiadau. Ychydig o *brandy* ynddo a wna iddo sefyll yn well yn y cylla. Os na chynnyrcha hyn chwys, doder llonaid llwy dê o'r dyferion chwysbarol, bob dwy awr, hyd oni chynnyrcher chwys. Os bydd y cylla yn rhy wan i gynnal y pethau hyn, gellir cymeryd dwfr oer, os na fydd gormod o chwys, dwfr *cream of tartar*, *lemonade*, tê mintys, *catnip*, balm, ysgall bendigaid. Golcher yr

arwyneb, bob dwy awr, â dwfr *ley*, neu *salaratus*, os na bydd y goddefydd yn cysgu; neu can amled ag y byddo y clefyd yn sychu y croen.

Mae yn angenrheidiol baddio y traed, nos a boreu; mae hyn yn cyfartalu y cylchrediad, a thrwy hyny yn atal cyd-dyriad lleol. Os bydd y goddefydd yn analluog i godi o'i wely, gellir gweinyddu y driniaeth arno ag yntau yn gorwedd.

Os bydd tuedd mawr i falldod, neu bydredd, rhodder cymaint o furym ag a ddeil y cylla; gellir ei gymysgu gyda llaeth a *molasses*. Os bydd gwendid mawr, gellir yfed gwin, yn gymysgedig â dwfr. Yr oedd meddyg enwog o Ffrainc, yn Philadelphia, yn dywedyd ei fod ef yn ystyried y goddefydd allan o'r perygl, wedi codi chwys. Os bydd y goddefydd yn anesmwyth, ac yn methu cysgu, deg gronyn o'r powdr chwysbarol yn amser gwely, a phryd arall bob pump neu chwech awr, neu ynte belen fechan o *opium*, ydynt dra buddiol er effeithio esmwythâd a chwsg.

Trefniad Ymborth.—Mae ymborth, yn y dwymyn yma, agos allan o arferiad, am nas gall y cleifion fwyta dim. Ond os bydd y claf yn chwennych, gellir rhoddi cyffelyb ymborth ag mewn twymynau ereill. Mae llaeth enwyn, yn gymysgedig â dwfr, yn dda iawn; felly hefyd y mae suredd llysieuog, megys sudd *orange*, *lemon*, afalau. Maent yn wrthbydrol.

Mae awyr oeraidd mor angenrheidiol a chyffyriau. Cadwer y goddefydd, a'r ystafell, yn lân. Golchi pen y goddefydd â dwfr a gwinegr, y wyneb a'r dwylaw yr un modd, sydd hynod o adfywiol. Mae *charcoal*, a'i gymeryd yn ddyddiol, yn atal y dwymyn felen. Gellir ymddybynu arno.

## ENYNIAD YR YMENYDD. *(INFLAMMATION OF THE BRAIN.)*

Arwyddion.—Mawr dueddiad yn y gwaed i'r pen, a phoen sefydlog—traed oerion—y llygaid yn analluog i oddef goleuni—gwreichion yn chwareu o flaen y llygaid—crebychiad yn nghanwyllau y llygaid—yr ymysgaroedd yn farwaidd—gwaedgur caled, cyflym, a chortynog—y tafod, yn y dechreu, yn wyn, neu yn goch-oleu, yna yn felyn neu yn llwyd—ymbalfalu—ac, yn aml, gorphwyllder gwyllt.

Ffafriol.—Arwyddion twymynawl yn lleihau—gwaedlif o'r ffroenau—cofio breuddwydion—gorphwyllder, wedi cysgu, yn llai.

Anffafriol.—Rhincian y dannedd—ymgarthion llwydliw—dirdyniadau *(convulsions)*—chwys oeraidd—hurtrwydd—analluogrwydd i estyn y tafod allan.

Mewn plant, mae yn dueddol o fyned yn ddyfrglwyf yr ymenydd, Canfyddir hyn, weithiau, wrth leddaeniad canwyllau y llygaid.

Triniaeth.—Yn y lle cyntaf, ymdrecher troi ymaith dywalltiad y gwaed i'r pen, trwy adferyd cylchrediad y gwaed yn yr aelodau; neu, mewn geiriau ereill, cyfartalu cylchrediad y gwaed. Bydded i'r traed gael eu baddio mewn dwfr twym, yn mha un doder ychydig *ley*, neu *salaratus*. Mynycher ddwy neu dair gwaith bob dauddeg-pedair awr. Gweinydder carthbair bob boreu, neu bob yn ail boreu. Os bydd yr enyniad yn fawr iawn, rhodder *blistering plaster*, neu sugaethen fwstard, y tu ol i'r gwddf. Mae yn angenrheidiol hefyd gadw y tueddiad i'r arwyneb, neu y croen. Llonaid llwy de o'r dyferion chwysbarol, unwaith bob dwy awr, hyd oni ymddangoso y chwys, a etyb y dyben yma yn dda. Cadwer sugaethen fwstard wrth wadnau y traed.

Os bydd anesmwythder, a diffyg cwsg, rhodder llonaid llwy de fechan o'r powdr chwysbarol, bob nos, tuag amser gwely.

Dilyn y rheol hon, yn gyffredin, sydd yn gorchfygu yr enyniad mewn amser byr. Craffinio (*cupping*) o'r tu ol i'r gwddf, &c., sydd yn cael effaith dda weithiau, pan fyddo y boen yn llym iawn.

Llonaid llwy dê o *spirit of nitre*, hwyr a boreu, sydd yn tynu ymaith y tueddiad i ddyfrglwyf yn yr ymenydd. Neu cymerer llonaid llwy dê bob pedair awr, a hanner hyny i blant.

Trefniad Ymborth.—Mae yn ofynol cadw y goddefydd oddiwrth bob math o fwydydd moethus, ac anhawdd eu treulio; ac i ymlynu yn hollol wrth luniaeth deneu, ysgafn, ac oeraidd. Ni ddylid rhoddi dim o duedd gynhyrfiol, mewn bwyd na diod.

---

## YR EISGLWYF. (*PLEURISY.*)

Yr anhwyldeb poenus hwn sydd enyniad yn y memrwn, neu y bilionen sydd yn gwrthleinio a dyogelu o'r tu fewn i geudod y ddwyfron, fel clawr esmwyth, rhwng yr ysgyfaint a thu fewn i'r asenau.

Arwyddion.—Syched—poen llym yn yr ochr—pigiad poenus wrth gymeryd anadliad—anhawsdra i orwedd ar yr ochr glwyfedig—pesychiad poenus—poeriad ar y cyntaf yn deneu, ond yn dyfod yn dew, ac yn fynych yn gymysgedig â gwaed—gwaedgur cyflym, caled, a chrynedig.

Ffafriol.—Lleihad y boen a'r dwymyn—y boen, wrth anadlu, yn esmwythâu—a pheswch-boeriad yn helaeth.

Anffafriol.—Ar ol arwyddion llymdost, y boen yn darfod yn ddisymwth, a'r gwaedgur yn ymlaesu.

Achosion.—Dynoethiad i oerni—gwlychu y traed—ymegniad gorchestol—ataliad ymgarthiadau arferol, yn enwedig y chwysdarth.

Triniaeth.—Medd Dr. Beach: 'Yr oeddwn i yn arferol gwaedu yn nechreu y clefyd hwn; ond yn ddiweddar yr wyf wedi ymatal yn hollol oddiwrth hyny, a mabwysiadu triniaeth arall, pa un a gefais yn llawer mwy effeithiol, a llai niweidiol.'

Yn y lle cyntaf, pan gymerer un gan yr eisglwyf, doder ei draed ef mewn dwfr twym, a defnyddier un llonaid llwy dê o'r dyferion chwysbarol, mewn hanner peint o ddwfr *catnip*. Os na esmwythâ y dogn cyntaf y boen angerddol, rhodder yr un faint eilwaith yn mhen hanner awr.

Mewn cysylltiad â'r moddion hyn, bydd yn angenrheidiol cymhwyso y meddygolch canlynol:---'Pupyr cochion, un owns; *alcohol*, neu y *brandy* goreu, un peint. Berwer am ychydig fynydau, ac yna gwlycher gwlanen ynddo, a chymhwyser at yr ochr. Pan oero, ail gymhwyser. Os na esmwythâ hyn y boen, cymhwyser y meddygolch canlynol: *tansy*, *wormwood*, *hoarhound*, *catnip;* berwer hwy mewn mesur cyfaddas o ddwfr, a rhodder hwy wrth yr ochr, mewn gwlanen, mor dwym ag y gellir eu goddef. Mae y cymysgedd hwn yn lleihau y boen, yn llaesu y llestri, ac yn atal cyd-dyriad.

Os bydd llawer o beswch, rhodder y drwyth ganlynol: *Pleurisy root (asclepias tuberosa,)* haner owns, wedi ei falu, a'i roddi mewn hanner peint o ddwfr berwedig. Yfer hwn yn helaeth trwy y dydd. Neu cymerer un owns o *Seneca snake root*, mewn un peint o ddwfr berwedig, ac yfer llonaid llwy fwrdd o'r drwyth bob dwy awr.

Os bydd y boen yn yr ochr yn parhau, ar ol arfer y driniaeth flaenorol, yr hyn nid yw yn dygwydd ond yn anfynych, rhodder sugaethen fwstard, ac ychydig o'r powdr chwysbarol wedi ei ysgaenu arno, neu ychydig *opium* wedi ei falu. Wedi myned trwy y driniaeth uchod, os na fydd yr enyniad wedi ei ddarostwng, neu yn agos felly, rhodder undeg-pump o ddyferynau o *tincture digitalis*, dair neu bedair gwaith y dydd, ar dê *pleurisy root*.

Os bydd y goddefydd yn lled anesmwyth, a digwsg, at y nos, rhodder deg gronyn o'r powdr chwysbarol *(diaphoretic powder.)* Gweinydder carthbair bob dydd, neu bob yn ail ddydd. 'Mewn achosion tra gerwin,' medd Dr. Beach, 'arferais roddi *blistering plaster*.'

Trefniad Ymborth. Dylai y lluniaeth fod yn oeraidd a theneu. Rhaid i'r goddefydd ochel pob ymborth anhawdd ei dreulio, a phob peth sydd o natur boeth a chynhyrfiol. Gall arfer, fel diod, drwyth *cat-nip*, *boneset*, *camomile*; ac fel ymborth, uwd bara càn, grual, &c.

---

## ENYNIAD YR YSGYFAINT. *(INFLAMMATION OF THE LUNGS.)*

Arwyddion.—Anhawsder mawr i anadlu—llethiad mawr yn nghledr y ddwyfron—poen mawr mewn rhyw barth o'r ddwyfron—peswch—gwaedgur cyflym, llawn, a chrynedig—tafod yn wyn; yn nghyd ag arwyddion ereill o dwymyn enynawl. Mae weithiau yn ymblethedig â'r eisglwyf, a thebygolrwydd yn yr arwyddion, oddigerth fod y boen yn fwy.

Ffafriol.—Chwysiad tyner—lleisw yn lled helaeth, yn nghyd a gwaelodion—gwaedlif o'r ffroenau—ac, yn

enwedig, peswch-boeriad rhwydd, gwyn neu felyn.

Anffafriol.—Twymyn uchel, yn ddilynedig gan synwyrgoll, poen llym, peswch-boeriad tywyll neu ddû, gwaedgur afreolaidd, gwefusau o liw porphor, a gwedd ddulas—dyspeidiad disymwth y boen, yn nghyd ag iasau neu ryndod. Mae yr arwyddion diweddaf yn darnodi casgliad, neu grawn-aeddfediad, pa un weithiau a ymdora i wagle, neu geudod, y ddwyfron, yn cyfansoddi yr hyn a elwir *empyema*. Dylid bod yn dra manwl gyda hyn; ac os canfyddir arwyddion o hyn, bydd yn angenrheidiol anfon am lawfeddyg ar frys.

Achosion.—Lleihad y chwysdarth, trwy oerni—dillad a thraed gwlybion—ymegniad mawr mewn datganu, neu chwythu, offerynau cerdd—diodydd poethion, a'r cyffelyb bethau. Yr eisglwyf, a'r *peripneumony*, ydynt yn fynych yn gydblethedig, yn mha achos gelwir ef, *pleuro-peripneumony*.

Triniaeth.—Dylid arfer y moddion cyflymaf er darostwng yr enyniad, symud yr afiechyd, a datod, neu ragflaenu crawniad. Mewn canlyniad i gyfnewidioldeb ein hawyrgylch, mae yr afiechyd hwn yn un o'r rhai mwyaf cyffredin ac angerddol yn y wlad. Mae yn profi yn fwy angeuol na'r dwymyn felen, neu un haint echrydus arall; os nid yn union-gyrchol, mae felly trwy effaith ganlyniadol.

Yn yr orsaf ddechreuol o'r afiechyd hwn, fel agos bob afiechyd arall, mae yn angenrheidiol cynhyrfu rhydd a helaeth chwysdarthiad, trwy weinyddu y meddyginiaethau chwysbarol. Moddion rhagorol i ateb y dyben hwn, ydyw cymhwyso ager oddiar ddwfr wedi berwi llysiau ynddo; gellir gosod y goddefydd i eistedd uwch ben twb, a'i draed ynddo, gan ei orchuddio â chynfas, i'r dyben o ddwyn yr ager mewn cysylltiad â'i groen. Arosed yn y sefyllfa hon, os gall, am chwarter awr. Os na bydd ei nerth yn caniatau iddo ddyfod o'i

wely, gellir rhoddi y dyferion chwysbarol iddo yn y dull arferol, hyd nes y chwyso yn helaeth am amryw oriau. Parhaer hyn, yn gymedrol, hyd nes byddo yr enyniad wedi lleddfu.

Gwna y driniaeth hon, nid yn unig droi y gwaed oddiwrth yr ysgyfaint, ac atal cyd-dyriad, lleihau y cynhyrfiad tumewnol, cyfartalu y cylchrediad, symud y boen, a thueddu peswch-boeriad.

Pan fyddo y goddefydd wedi chwysu yn helaeth, gellir rhoddi carthbair iddo, a'i roddi yn ddigon aml i gadw yr ymysgaroedd yn dymherus.

Pan fyddo y cynhyrfiad rhedwelïol wedi lleddfu, gellir gweinyddu cyfogbair tyner. Mae yn gyffredin yn cynnyrchu esmwythâd buan o'r caethiwed yn y ddwyfron, ac yn codi penderfyniad, neu dueddiad, i'r croen, yn gystal a pheswch-boeriad,

Gellir gweinyddu cyfogbair mor aml ag y byddo yr arwyddion yn cyfiawnhau hyny. Os bydd casgliad mawr o lysnafedd, caethiwed yn y ddwyfron, peswch, anhawsder i anadlu, rhodder *expectoral tincture*, neu *syrup of ipecacuhana*.

Mae y darpariadau hyn yn hynod gymhwys at y clwyf hwn; maent yn cynnyrchu peswch-boeriad, chwys, &c.

Os bydd yr afiechyd yn angerddol iawn, rhodder sugaethen o fwstard ar y ddwyfron, hyd oni byddo y croen wedi cochi. A phan fyddo yr enyniad i raddau wedi lleddfu, arferer y powdr peswch (*cough powder*,) neu drwyth o *hoarhound* a *boneset*, wedi eu melysu â mel.

Mae yn ofynol baddio y traed unwaith neu ddwy bob dydd, mewn dwfr a *ley*, neu *salaratus*, a'u sychu yn sych, a dodi sugaethen o fwstard, neu ruddygl y meirch (*horse radish*.) Pe byddai y gwaedgur yn aros yn llawn, caled, a thyn, wedi myned trwy y driniaeth

hon, neu fod y crynöad heb leddfu, rhodder o 15 i 20 o ddyferion o *tincture digitalis*, mewn tê *camomile*, dair gwaith yn y dydd. Mae y planhigion hyn yn cynnyrchu arllwysiad y lleisw, a thrwy hyny yn lleihau yr enyniad. Mae yn lleihau y cylchrediad trwy yr ysgyfaint, trwy leihau gweithrediad y galon a'r rhedwelïau.

Os bydd y peswch yn parhau yn ystyfnig, neu yn flinderog, ar ol i'r arwyddion ereill lonyddu, rhodder cyffaith ysgyfeinaidd (*pulmonic syrup*,) neu y moddion canlynol:—Dauddeg gronyn o *ipecacuhana*, pedwardeg o ddyferynau o *laudanum*, chwarter pwys o fêl, a hanner llonaid cwpan dê o winegr. Rhodder yr oll mewn potel hanner peint, gan ei llenwi â dwfr. Cymerer o hono lonaid llwy dê dair gwaith yn y dydd, mewn tê hâd llîn. Ac os, wedi yr holl driniaeth, bydd y dwymyn yn parhau yn ystyfnig, yna rhodder pum gronyn o *ipecacuhana*, bob pedair awr; a llonaid llwy dê o *spirit of nitre* bob yn ail.

Trefniad Ymborth.—Rhaid i'r ymborth fod yn oeraidd, ysgafn, a maethlon. Nid oes dim yn fwy maethlon, na grual; mae yn fwyd, a diod, a meddyginiaeth, yn yr afiechyd hwn. Yfer hefyd dê hâd llîn.

---

## ENYNIAD YR YMYSGAROEDD. (*INFLAMMATION OF THE BOWELS.)*

Arwyddion.—Gwayw llymdost, yn ymdaenu o amgylch y bogail, ac yn mwyhau wrth bwyso—bytheirio gwynt—cyfogiad, a bolrwymedd ystyfnig—syched—poethder—trwmfrydedd—gwaedgur caled a bychan. Wedi hyny bydd yr wrwst *(cramp)* yn yr ymysgaroedd

—y coluddion yn ddolurus iawn wrth eu teimlo, ac yn cael eu tynu yn swp.

FFAFRIOL.---Poen yn arafu yn raddol—ymgarthiad naturiol—chwysiad cyffredinol—arllwysiad helaeth o leisw—gwaed yn gyfartal a sefydlog.

ANFFAFRIOL.---Dyspeidiad sydyn o'r boen—suddiad ac afreoleiddiwch y gwaedgur—crebychiad y wynebpryd—llethiad y lleisw—yr eigian---arled-daeniad, neu chwyddiad, y bol---twrf gwag wrth guro arno â'r bysedd.

Gwahaniaethir oddiwrth y coluddwst (*colic*,) trwy ei fod yn ddolurus pan bwyser arno, ond yn y coluddwst y mae y boen yn lleihau.

ACHOSION.—Sylweddau cynhyrfiol—oerfel—cerdded trwy ddwfr oer—esgeuluso bolrwymedd—ffrwythydd anaeddfed—ystagiad y torgest---arfer *opium*, *antimony*, *tartar emetic*, *arsenic*, yn nghyd a phob math o wenwyn ysol.

TRINIAETH.---Dylid gochel pob math o garthbeiriau cynhyrfiol yn yr afiechyd hwn, am eu bod yn llidio y dolur. Rhodder un owns, neu lonaid llwy fwrdd, o *castor oil*, bob dwy awr, hyd oni weithio fel carthbair. Wedi hyny, gweinydder ef fel y byddo yr achos yn gofyn. Os na effeithia fel carthbair, gweinydder y chwistrell cyffredin, unwaith bob pedair awr, yn ol yr achos, neu argymhelliad yr arwyddion. Os bydd y boen yn angerddol, gellir rhoddi chwistrell bob dwy awr, i lonyddu cynhyrfiad y cylla, a chyfogiad, yr hyn, yn aml, sydd gydfynedol â'r dolur hwn; rhodder deg gronyn o'r powdr chwysbarol bob pedair awr, neu ddau neu dri o *ipecacuhana*; a dogn bob nos o'r chwysbair, amser gwely.

Os na bydd y driniaeth yma yn goresgyn y dolur, cymhwyser y feddygolch ganlynol:—*tansy*, *wormwood*, *hoarhound*, a *hops*, wedi eu berwi mewn gwinegr a

dwfr, a'u dodi, mewn gwlanen, wrth yr ymysgaroedd, yn dwym.

Os bydd cyfogiad fel yr arwydd mwyaf darnodol, gellir cymhwyso y ddarpariaeth ganlynol:—Tê *spearmint*, hanner peint; *salaratus*, llonaid llwy dê; a digon o siwgr i'w felysu. O hwn rhodder llonaid llwy fwrdd bob awr.

Mae yr enyniad, weithiau, mor fawr, fel ag yr ymddengys fod mynedfa y coluddion wedi cau. Yn yr amgylchiad hwn, os bydd y moddion uchod yn methu, doder y goddefydd mewn baddon twym, gan fynychu hyny yn achlysurol. Os bydd y chwydd, yr enyniad, a'r boen, yn parhau, rhodder sugaethen fwstard wrth y bol, gan ei chadw yno hyd oni byddo y croen wedi cochi. Hefyd rhodder, fel carthbair, *senna* a *manna*, gan chwanegu ato lonaid llwy dê o *Epsom salts*. Mae dau neu dri dyferyn o *croton oil*, yn un o'r carthbeiriau cryfaf; ond nid yw yn ddyogel i bawb ei arfer. Gwell fyddai rhoddi hanner gronyn o *gamboge*, bob awr neu ddwy, hyd oni effeithio fel carthbair, os gall y cylla ei gynnal. Mae trwyth gref, oddiar risgl onen wen, yn hynod effeithiol.

TREFNIAD YMBORTH.—Y mwyaf oeraidd, meddal, a theneu; megys, *slippery elm*, grual dwfr a pheilliad, yn oer.

---

## ENYNIAD Y CYLLA. *(INFLAMMATION OF THE STOMACH.)*

ARWYDDION.—Gwaew sefydlog, a gwres llosgedig yn y cylla; yn mwyhau wrth i'r goddefydd lyngcu pob peth; y boen yn mwyhau wrth bwyso ar barth y cylla —cyfogi, a'r eigian—gwendid mawr—gwaedgur bychan a chaled—y tafod yn goch, yn enwedig y blaen a'r ym-

ylon—chwys oer a glydiog, ac weithieu dirdyniadau a llewygfeydd.

Ffafriol.—Y gwaedgur yn dyfod yn feddal a llawn, ac yn lleihau mewn amser—y boen yn darfod yn raddol, a'r lleisw yn croni gwaelodion, a chwysdarthiad helaeth,

Anffafriol.—Llewygfeydd—chwys oer a glydiog—oerni yn yr aelodau, a gwaedgur dyspeidiol—y boen yn ymatal, gyda theimlad o drymder yn aros. Cryndod yn nghyda thwymyn wastadol, sydd yn dynodi terfyniad mewn crawn-dyriad angherddol—llymdost arwyddion ar y cyntaf, a llaesiad y chwydd, a'r gwaedgur yn parhau ei amlder, ond yn dyfod yn wanach, a synwyrgoll, sydd yn dynodi terfyniad mewn madredd.

Achosion.—Bwyta pethau sur a chynhyrfiol—carthfeddyginiaethau cryfion — a sylweddau gwenwynol, megys *arsenic*, *corosive sublimate*, *mercury*, a gwirodydd poethion, dwfr oer pan y mae y corff yn frwd, llethiad y chwysdarth; pethau celyd ac annhreulgar, megys esgyrn, gormodedd o frasder, cig moch, teisenau melysion.

Triniaeth.—Ymdrechu llonyddu cynhyrfiad y cylla, trwy leihau yr enyniad.

Yn yr afiechyd hwn, bydd yn angenrheidiol rhoddi diodydd llariaidd a llysnafeddog; ac nid oes dim sydd well na dwfr oddiar risgl *slippery elm*. Cymhwyser meddygolchiadau at y cylla.

Gellir rhoddi un owns o *sweet oil* bob dydd. Ac os bydd cyfogiad yn flinderus, rhodder ychydig o bowdr *soda* mewn dwfr oer, pan ddygwyddo hyny. Os na bydd hyn yn llwyddo, a llarieiddio yr arwyddion, rhodder pelen fechan o *opium*, dair neu bedair gwaith yn y dauddeg-pedair o oriau. Baddier y traed yn aml mewn dwfr *lcy;* ac os bydd yr afiechyd yn parhau yn ystyfnig, cymhwyser sugaethen o fwstard at y cylla; ac wedi

hyny rhwng yr ysgwyddau. Gwedi myned trwy y driniaeth hon, os bydd cyfogi yn parhau, rhodder y darpariad canlynol: *bicarbonate potasse*, neu *salaratus*, lonaid llwy dê, neu ddwy, yn achlysyrol, neu bob tro y cyfogir.

Mae yn rhaid gochelyd pob math o fwydydd a diodydd o duedd boethawl a chynhyrfiol.

Geill gwendid y goddefydd dwyllo yr edrychwyr, a'u hannog i roddi gwin, gwirod, a phethau o'r fath iddo; ond y mae y pethau hyn bob amser yn ffyrnigo yr afiechyd, ac weithieu yn achosi marwolaeth ddisymwth. A'r tueddiad i gyfogi, hefyd, a eill ddarnodi angen am gyfogbair; ond y mae hyn, agos bob amser, yn niweidiol yn y clefyd hwn.

TREFNIAD YMBORTH.—Rhaid i'r ymborth fod yn deneu, llariaidd, a hawdd ei dreulio. Ni ddylid arfer ond ychydig: gofaler na byddo yn rhy oer, nac yn rhy boeth. Grual blawd Indiaidd, neu geirch, cawl cyw, maidd, llaeth, dwfr haidd a ellir ei yfed, yn nghyda thê dail Hocys (*marsh mallows*,) a *slippery elm*.

---

## ENYNIAD YR AFU. *(INFLAMMATION OF THE LIVER.)*

ARWYDDION.---Dechreua gyd ag iasau a chryndod; yr hyn a ddilynir â phoenau llymdost yn yr ochr ddehau, yn ymsaethu i fynu i'r ysgwydd—peswch—anhawsder i anadlu—cyfogi sylwedd gerïaidd—anhawsdra i orwedd ar yr ochr aswy---melynder y croen a'r llygaid---ymgarthion o liw clai---lleisw yn fach, ac o liw uchel---syched---y tafod yn gostwng; yn nghyd ag arwyddion ereill o dwymyn.

Ffafriol.—Gwaedlif o'r ffroenau—chwysiad—dar-ymred—lleisw, yn cynnwys yn helaeth o waelodion.

Anffafriol.—Eigian parhaus—twymyn angerddol—syched dirfawr. Rhyndod a ddynoda derfyniad mewn crawn-aeddfediad. Nid ydyw yn fynych yn terfynu yn angeuol yn ddioed.

Achosion.---Tewder gormodol---chwarenau yn yr afu---ymegniad angerddol wrth gyfogi, pan mae yr afu o'r blaen yn friwedig—cerig yn atal rhedfa y bustl—yfed gwin, a diodydd poethion---arferyd lluniaeth gwresog---gwyntglwyf ffyrnig, heblaw yr achosion cyffredin o enynfa.

Triniaeth.—Fel yn yr holl glefydau enynawl, y dyben cyntaf mewn golwg ydyw, lleihau penderfyniad y gwaed i'r parth enynawl, trwy gyfartalu y cylchrediad. Er effeithio hyn, bydd yn ofynol cynnyrchu chwys-darthiad helaeth. Rhaid baddio y traed mewn dwfr twym a *ley*, a chymeryd llonaid llwy de o'r dyferion chwysbarol, mewn hanner peint o de *catnip*, hyd nes cynnyrchu chwys. Rhaid i'r goddefydd yfed yn helaeth o drwyth crymlys (*pennyroyal*,) neu balm. Os bydd y boen yn llym, berwer ychydig bupyr cochion mewn *brandy*, a golcher y parth gogyfer a'r afu âg ef. Oni bydd hyn yn lleddfu y boen, rhodder cymrwd pothellog. Gellir rhoddi carthbair yn ddyddiol, tra byddo yr arwyddion yn parhau yn llymdost. Yn yr afiechyd yma, mae y cyfogiad yn arwydd cyffredin iawn. Y pryd hyny, rhodder ychydig o *salaratus*, mewn dwfr, neu de *peppermint*, mor aml ag y byddo cyfogiad yn dychwelyd. Llonydda hyn gynhyrfiad y cylla. Gellir cymhwyso sugaethen o fwstard at yr ochr, neu *blistering plaster;* ond yn aml y mae y mwstard yn ateb cystal dyben, neu well. Os bydd y boen yn parhau yn erwin, ac yn lluddias cwsg, rhodder deg gronyn o'r powdr chwysbarol, mewn *currant jelly*,

neu afalau wedi eu rhostio, bob nos.—Os bydd y cylla yn arddangos ei bod mewn sefyllfa farwaidd, yr hyn sydd yn dilyn y clwyf yma yn gyffredin, o herwydd cydymdeimlad, ceir esmwythâd mawr trwy weinyddu cyfogbair tyner, bob yn ail nos neu foreu. Y carthbair goreu, yn yr afiechyd hwn, yw y peleni afuaidd (*hepatic pills;*) ac oni byddant yn ateb y dyben, cymerer y carthbair cyffredin. Dylid gweinyddu un yn ddyddiol, neu bob yn ail ddydd, o'r hyn pellaf.

Trefniad Ymborth.---Dylai yr ymborth fod yn gyffelyb i'r hyn a gymeradwywyd yn yr anhwylderau enynawl ereill.

---

## ENYNIAD YR ARENAU. *(INFLAMMATION OF THE KIDNEYS.)*

Arwyddion.---Eisteddfod y boen i'w deimlo yn y mein-gefn---yn ymled-daenu i lawr, ac yn mlaen---lleisw o fesur bach, a'i wneuthur trwy anhawsder, weithiau hefyd yn waedlyd---arloesygiad---cyfogiad---a thwymyn.

Ffafriol.—Lleihad graddol y boen a'r dwymyn---chwysdarthiad helaeth---lleisw llysnafeddog, ac o liw uchel.

Anffafriol.—Wedi y seithfed, neu yr wythfed, dydd, dyspeidiad y boen---cryndod---dychlamiad, neu guriad, yn y parth---twymyn annyspeidiol---syched mawr, yr hyn sydd yn dynodi terfyniad mewn crawndyriad—disymwth ataliad y boen, ar ol arwyddion ystyfnig angerddol—suddiad y gwaedgur, a chwys oer, yn dynodi y terfyniad o hono mewn madredd.

Achosion.—Ysigiadau—oerfel, trwy atal y chwysdarth—annghymedroldeb, yn yr ymarferiad â diodydd

meddwol, ac â bwydydd—cyffyriau dwfr-ryddhaol cryfion ; megys, *spirits of turpentine, Spanish flies*, a *saltpetre.*

Triniaeth.—Y dyben cyntaf i gyrchu ato ydyw, llaesu, neu agor, y cyfan-gorff, trwy gynnyrchu chwys. Os bydd y boen yn erwin, cymhwyser at eisteddfod y boen feddygolchiadau o lysiau chwerwon, megys *hops* a *wormwood*, rhan gyfartal o bob un. Lled-ferwer hwy mewn dwfr a gwinegr, cymhwyser hwy yn dwym, gan eu newid yn aml. Gellir rhoddi y dyferion lleiswbair *(diuretic drops,)* gwna hyn leihau yr enyniad, a chynnorthwyo arllwysiad y dwfr. Rhodder llonaid llwy dê dair neu bedair gwaith y dydd, mewn dwfr *gum arabic*, neu drwyth hâd llîn. Ar yr un amser, rhodder hefyd, trwy y dydd, drwyth *marsh mallows, parsly*, mintys, *spearmint*, neu dê *slippery elm.* Y mae y rhai hyn yn cynnyrchu arllwysiad y dwfr, yn llarieiddio yr enyniad, ac yn llonyddu y cynhyrfiad. Weithiau, mae mynediad y graian o'r arenau, trwy y pibellau a'r chwysigen, yn achosi yr wrwst; y pryd hyny, rhodder pelen o *opium*, neu bowdrau, yn cynwys dau neu dri gronyn o hono, bob dwy awr, hyd oni chaffer esmwythâd. Gellir hefyd roddi y goddefydd mewn baddon twym; mae hyny yn arferol o roddi esmwythâd buan.

Mae *spirit of mint*, a *spirit af nitre*, rhan gyfartal o bob un, yn gymysgedig, a'u rhoddi yn ddogn o hanner llonaid llwy fwrdd, yn hynod dda. Pan fyddo yr afiechyd yn hir-barhaol, a phoen yn y mein-gefn, &c., baddier y parth clwyfus â'r darpariadau canlynol:—Pupyr cochion, un owns; *alcohol*, un peint; *oil of sassafras*, un owns. Baddier y mein-gefn âg ef ddwy neu dair gwaith y dydd; ar yr un amser cymerer y dyferion chwysbarol. Pan larieiddio yr enyniad yn lled dda, rhodder cymrwd cryfhaol *(strengthening*

*plaster*) wrth y fan, a baddier y traed yn aml. Os bydd y corff yn rhwym o'r dechreu, rhodder y carthbair, *jalap* a *cream of tartar*, bob dydd, neu bob yn ail ddydd.

TREFNIAD YMBORTH.—Yr un modd ag yn y clefydau enynawl blaenorol; gan ofalu am gadw yr ymysgaroedd yn rheolaidd, gyda charthbair a chwistrellau.

---

## ENYNIAD Y CHWYSIGEN. *(INFLAMMATION OF THE BLADDER.)*

ARWYDDION.—Chwydd a phoen yn y chwysigen, yn mwyhau wrth wasgu—tueddiad mynych i arllwyso y lleisw—y lleisw yn fach, ac yn treulio trwy fawr boen—anorphwysdra mawr—cyfogiad—anhunedd—a gorphwyllder.

ACHOSION.—Gwirod poethion—oerfel—ac enyniad yn y rhanau cyfagos.

TRINIAETH.—Dylai fod yn gyffelyb i driniaeth yr enyniad yn yr arenau; oddigerth fod yn angenrheidiol cymhwyso y meddygolchiydau. &c., o'r tu blaen, gogyfer a pharth y chwysigen. Mae y carthbair, cymysgedig o *jalap* a *cream of tartar*, yn fwy addas at y clefyd yma na dim arall, a'i gymeryd bob yn ail ddydd. Weithiau, bydd yn ofynol rhoddi *blister* wrth y fan. Yfer yn helaeth o dê *burdock*, *wild carrot seed*, *wild parsly*, *dandelion*, *cleavers*, *pennyroyal*, *uva ursi*, *&c*.

## GORMWYTH ENYNAWL. *(INFLAMMATORY RHEUMATISM.)*

Arwyddion.—Dechreua gyda rhyndod neu iasau oerion, ac ymdaenfa o wres—poen llym yn y cymalau mwyaf, yn gyffredin yn goch oddi amgylch iddynt—chwyddedig, a dolurus wrth eu teimlo—mawr syched, a choll chwant bwyd; ac arwyddion cyffredinol ereill o dwymyn.

Mae tuedd neillduol yn yr afiechyd hwn, i ymsymud o'r naill gymal i'r llall, ac hefyd weithiau i bilionen yr ysgyfaint, a'r galon. Y gwaedgur sydd lawn, cyflym, a rheolaidd; oddieithr pan y byddo wedi effeithio ar y galon, neu yr ysgyfaint. Y pryd hyny, bydd yn araf a dyspeidiol, ond weithiau yn amrywiol. Yn y cyfnewidiad hwn, mae hefyd anhawsdra i anadlu—y poer yn ffrothlyd a llysnafeddog—yn nghyd a phoen yn rhyw ran o geudod y ddwyfron.

Ffafriol.—Chwysiad rhwydd—gwaedlif—lleisw gwaelodiog. Er fod yr afiechyd hwn weithiau yn annyben, eto gwellâ; nid yw ond anfynych yn terfynu yn angeuol.

Anffafriol.—Pan y mae yn ymsymud i'r pen, neu geudod y ddwyfron, neu y peiriannau tumewnol.

Achosion.—Cysgu mewn gwelyau lleithion—byw rhwng muriau llaith, neu unrhyw ddynoethiad cyffelyb i oerfel, pan y mae y cymalau wedi gwanhau trwy ymarferiad ymegniol—dillad gwlybion—a phob peth ag sydd yn lluddias y chwysdarth—arferiad annghymedrol o ddiodydd cryfion. Mae hefyd, yn aml, yn cymeryd lle ar ol clefydau hir-barhaol, megys y clefri poeth *(scurvy,) &c.*

Triniaeth.—Y peth mawr, a chyntaf, yn y gormwyth enynawl, yw lleihau y cynghaws enynawl, ac

iselu y dwymyn. Mae wedi bod yn arferiad gwaedu yn helaeth yn y clefyd hwn; ond cafwyd, trwy brofiad, fod hyny yn tueddu i drosglwyddo yr enyniad i'r rhanau tumewnol, trwy wanhau galluoedd natur i gadw ymaith yr afiechyd oddi wrthynt. Oblegyd hyn, mae y meddygon enwocaf yn awr yn collfarnu yr arferiad yn hollol.

Bydd yn ofynol, yn nechreu yr anhwyldeb hwn, gweinyddu carthbair dair neu bedair gwaith olynol, fel y byddo gweithrediad yn cymeryd lle yn y coluddion, yn ddyddiol. Mae o'r pwys mwyaf hefyd gynnyrchu chwys. Gellir defnyddio yr ager-faddon, os bydd y goddefydd yn alluog i eistedd i fynu; os amgen, rhodder y dyferion chwysbarol bob dwy awr, hyd oni chymero chwys le; ac wedi hyny, rhodder hwy yn achlysurol, i gadw gwlyddeidd-dra ar y croen. Gellir gweinyddu cyfogbair yn achlysurol, os bydd arwyddion fod llawer o sylwedd heintiol yn y cylla. Os bydd poen yn lluddias cwsg, rhodder deg gronyn o'r powdr chwysbarol tu ag amser gwely. Os bydd y poen yn y pen yn parhau, yna gwlycher gyda y darpariadau canlynol: *Whiskey*, gwinegr, dwfr glân; hanner peint o bob un; cymysger ef, a rhodder hanner owns o halen ynddo. Cymhwyser gyda gwlanen at y pen, dair neu bedair gwaith y dydd. Doder wrth y parthau dolurus sugaethen, bran a gwinegr, wedi eu lledferwi yn nghyd. Mae y pethau syml hyn, weithiau, yn peri esmwythdra mawr. Cymer ar yr un pryd y feddyginiaeth dumewnol ganlynol: *hydriodate of potash*, un owns, mewn un chwart o ddwfr. Dogn, hanner, neu lonaid, gwinwydr, dair gwaith y dydd. Yn achlysurol, rhodder y powdr chwysbarol mewn tê brigau *hemlock*. Mae yfed yn helaeth o'r drwyth yma yn effeithiol iawn. Os bydd y boen yn llym iawn yn y cymalau, eneinier hwy, dair neu bedair gwaith, â'r darpariad canlynol: *Oil of*

*hemlock*, un owns; *tincture of opium*, un owns; *alcohol*, un peint. Cymysger oll yn nghyd. Mae sugaethen fwstard weithiau yn rhoddi esmwythâd mawr. Os bydd y gormwyth yn y pen, lledferwer *stramonium* mewn *whiskey*, ac eneinier y pen âg ef. Pum gronyn o'r powdr chwysbarol, a thri gronyn o *ipecacuhana*, bob pedair awr, sydd hynod o effeithiol, os bydd yr enyniad yn fawr, a llonaid llwy dê o *spirit of nitre* dair gwaith y dydd.

Trefniad Ymborth.—Ni ddylid rhoddi dim o duedd boethaidd, nac anhawdd ei dreulio. Gellir yfed yn helaeth o laeth enwyn, dwfr haidd, &c.

---

## Y DROEDWST. *(GOUT.)*

Arwyddion.—Y droedwst a ragflaenir, yn fynych, gan ddiffyg treuliad ymborth—cysgadrwydd, yr hyn a ddilynir â phoen llym yn y cymalau, bysedd lleiaf y traed a'r dwylaw, ac yn enwedig y bodiau---chwydd, a chochni dolurus o gylch y dolur, yn dyfod yn y nos; a thudddiad i newid i'r aelod cyferbyniol. Mae weithiau yn cael ei yru i'r cylla, a'r ddwyfron, a'r pen. Ar ol hir barhad y dolur, bydd cyd-dewychiad oddeutu y cymalau; ac, yn fynych, y graianwst a fydd yn gyd-fynedol.

Ffafriol.---Chwysdarth rhwydd---cynnyddiad yn rhediad y lleisw---ysfa yn y parthau effeithiedig---y croen yn syrthio ymaith yn gènau.

Anffafriol.---Yr afiechyd yn gadael y cymalau yn ddisymwth, yr hyn a ddilynir gan arloesygiad, cyfogiad, trwmfrydedd, ac oerni; a phoen yn mharth y cylla a ddynoda ei fod wedi ei drosglwyddo. Llewygfeydd, dychlamiad, ac arwyddion o fygfa, a ddynoda ei fod

wedi syrthio ar beiriannau y galon. Poen yn y pen, pensyfrdandod, *palsy*, neu *apoplexy*, a ddynoda ei fod wedi symud i'r pen.

Achosion.---Bwydydd breision; neu, fel eu gelwir, bywyd uchel---gwirod poethion---syrthni, neu segurdod ---achosion mwy cynhyrfiol a digyfrwng ydynt, oerfel, lludded, ac ymprydiad. Y mae rhai a rhagdueddiad ynddynt iddo.

Triniaeth.---Nid llawer o brofiad a gefais yn y clwyf hwn; ond chwilio i mewn i weithiau awduron, a chefais hwynt, gan mwyaf, fel y canlyn: Yn yr orsaf ffurfiedig o hono,---Cyfogbeiriau, medd Chalmers; carthbeiriau bywiog, Musgrave; haiarn, Grant; powdrau Dover, Fothergill; dognau mawr o *musk*, neu *castor*, Williams; *Gratiola*, Wolff; gwaedu ar y traed, Gilbert; cymhwysiad dwfr oer at y traed, Gïannini; arferiad tumewnol o ddwfr iâ, Barthely. Fel hyn, gwelir fod llawer o wrth-ddywediadau.

Canmolir y dwfr oer yn fawr i wella y droedwst. Dyma oedd Dr. Good yn ei arfer yn ei achos ei hun. Cymhwysai ddwfr oer at y fan, yr hyn a esmwythäai y boen yn ddioed. Os bydd y parthau yn boenus iawn, rhodder y sugaethen ganlynol: Rhysgl llwyfen goch, wedi ei ferwi mewn gwinegr. Ac eneinier ef â'r darpariad canlynol: *Oil of hemlock*, *spirit of turpentine*, owns o bob un; *gum camphor*, un owns; *alcohol*, un chwart. Cymysger oll yn nghyd, a chymhwyser at y fan yn dwym. Os na rydd hyn esmwythdra, cymerer yr un faint o ddail *cicuta*, *stramonium*, neu *henbane;* lledferwer mewn gwinegr, gan chwanegu digon o bowdr rhysgl llwyfen goch i'w wneuthur yn sugaethen; ac yna doder ef, yn ngwres y gwaed, wrth y parth dolurus, gan ei fynychu mor aml ag y sycho.

Bydd yn ofynol rhoddi carthbair, yn achlysurol, er cludo ymaith sylwedd heintiol o'r cylla a'r coluddion,

a'u cadw mewn symudiad beunyddiol. Os bydd arwyddion fod llawer o anmhuredd yn y cylla, gweinydder cyfogbair, a'r powdr chwysbarol, er mwyn cadw i fynu chwysdarthiad.

Mae clod mawr i'r *tincture of colchicum*, er gwella y droedwst. Mae cymhwyso ager oddiar ddail chwerwon yn hynod o rinweddol, os bydd y boen yn parhau yn ystyfnig.

Trefniad Ymborth.---Os bydd y goddefydd yn ieuanc, ac o gyfansoddiad cryf, dylai yr ymborth fod yn deneu ac ysgafn. Neu, os bydd y goddefydd wedi arfer byw yn uchel, a'r cyfansoddiad yn wanaidd, nid addas ydyw ei ddiddyfnu yn nghyfnod ei afiechyd. Rhodder i'r cyfryw fwydydd lled faethlon, megys maidd gwin, &c.

---

## TAN IDDWF. *(ERYSYPELAS.)*

Arwyddion.---Dechreua fel twymyn; yn mhen ychydig ddyddiau, cochni a chwydd a gymerant le mewn rhyw ran o'r croen, yn ymled-daenu, yr hyn a ddilynir gan darddiadau, pa rai a derfynant mewn cèn eisinog. Ymosoda weithiau ar yr wyneb, ac ymdaena dros y pen, a'r chwydd yn achosi dallineb; ac, yn achlysurol, effeithia ar bilionen yr ymenydd, yn mha achos yr afiechyd a sefydla yn dumewnol. Mae yr afiechyd hwn, fel rhai ereill, yn cael ei weithio i'r rhanau bywydol. Mae yr afiechyd yn dra hawdd ei adgynnyrchu.

Ffafriol.---Chwys helaeth a chynhes; ac arwyddion ereill, sydd yn nodweddu symudiad sylwedd enynawl, mewn achosion ereill.

Anffafriol.---Twymyn uchel, hurtrwydd a syn-

wyrgoll, a ddynodant ei fod wedi effeithio ar yr ymenydd. Dichon ddisgyn hefyd ar beiriannau y ddwyfron a'r ymysgaroedd.

ACHOSION.---Cymhwysiad oerfel at y corff, ar ol ymegniad dirfawr---annghymmedroldeb---anwydau y meddwl, megys ofn, digter, &c. Rhwystriad rhai o'r arllwysion corfforol, neu fod yn rhy fychain a'i hachosa.

TRINIAETH.---Dylid, yn y lle cyntaf, yru ymaith y sylwedd heintiol o'r coluddion a'r cylla. Gweinydder cyfogbair, yn enwedig os bydd arloesygiad. Wedi hyny, carthbair bywiog. Nid oes un afiechyd yn bodoli, ag y mae carthiadau yn gwneyd mwy o les ynddynt, nag yn yr afiechyd hwn. Dylid gweinyddu carthbair yn achlysurol, er cadw yr ymysgaroedd yn gymedrol. Mae yn ofynol, hefyd, gynnyrchu chwysdarthiad helaeth, wedi darfod effeithiolaeth y cyfogbair a'r chwysbair cyntaf. I hyny, rhodder llonaid llwy dê o'r dyferion chwysbair, bob dwy awr, mewn tê *catnip*, hyd oni chymero chwysiad le. A gweinydder y powdr chwysbair, bob chwe awr, i gynnal chwys cymedrol. Eneinier y parthau dolurus a'r darpariadau canlynol:—*tar*, dwy owns; *brwmstan*, tair owns; *white rosin*, dwy owns; *castile soap*, dwy owns; *sweet oil*, pedair owns; berwer oll yn nghyd, a chymhwyser at y man dolurus, ddwy, neu dair gwaith, y dydd. Mae blawd càn, yn dra rhinweddol, trwy ei ddodi mewn gwlanen wrth y parth dolurus.

Y mae *sweet oil* yn atal ymledaeniad y Tân Iddwf, trwy eneinio y doluriau âg ef. Os bydd y clwyf o hir barhad, mae yn rhaid cymeryd *sarsaparilla* i'w weithio allan o'r cyfansoddiad—a'i gymeryd am hir amser.

Mae y Tân Iddwf, weithiau, yn cael ei achosi gan sylwedd surllyd a heintiol yn y cylla. Gwna llonaid llwy dê o *charcoal*, dair gwaith y dydd, wella y rhywogaeth hwn o Dân Iddwf.

## ENYNIAD Y GWDDF. *(QUINCY.)*

Arwyddion.—Nodweddir Enyniad y Gwddf, gan anhawsder i anadlu a llyncu, yn gydfynedol â chwydd yn y cilchwyrnau, yn un neu ddau du y gwddf—poenau hedegog yn y parthau enynawg. Fel mae yr afiechyd yn myned yn mlaen, mae yr anhawsder i anadlu a llyncu yn cynnyddu—y tafod yn chwyddo, ac yn orchuddiedig gan bàn dû—y gwaedgur yn llawn, caled, a chyflym.

Achosion.—Yr achos mwyaf cyffredin, yw ataliad disymwth y chwysdarthiad—-dillad gwlybion—-traed gwlybion—-gwelyau lleithion—-meddwdod—-ymborth llym, a chynhyrfiol. Mae yn cael ei achosi yn fynych, trwy esgeuluso y gorchudd arferol a wisgir o amgylch y gwddf. Dadganu, neu lefaru yn uchel, a all achosi Enyniad y Gwddf. Eistedd gogyfer a ffenestr agored, &c. Mae yr afiechyd yma, weithiau, yn ymdaenol a heintus.

Triniaeth.—Yn y dechreu, mae yn angenrheidiol gweinyddu cyfogbair; y mae hyny, yn aml, yn atalfa ar yr anhwyldeb; ac oni etyl yn hollol, mae yn lleddfu ei angerdd. Berwer hefyd *wormwood* a hopys, yn drwyth cryf, a rhodder yn boeth mewn llestr â phig iddo, megys *tea-pot*, a dalier wrth y genau, fel byddo yr ager yn cael mynedfa at y gwddf oddifewn, am ysbaid undeg-pump, neu ddauddeg o fynydiau. Bydded i hyn gael ei wneuthur ddwy neu dair gwaith y dydd, hyd oni byddo yr arwyddion llymion wedi lleddfu. Ac yna cymhwyser yr enaint canlynol at y gwddf oddiallan: *sassafras oil*, *olive oil*, ac *aqua ammonia*, hanner owns o bob un; rhodder ynddynt hanner dram o *gum camphire;* wedi eu cymysgu yn nghyd, twymer, a rhwbier y gwddf yn dda; wedi hyny, rhodder gwlanen oddi-

amgylch y gwddf. Dylid cymhwyso hyn yn lled fynych trwy gyfnod y dydd. I olchi y gwddf oddifewn, cymerer *sage*, *hysop*, dyrnaid o bob un; rhodder ynddo ychydig o *alum*, *borax*, a halen; melyser âg ychydig o fêl. I'r dyben o'i gymhwyso, rhwymer bretyn ar ben darn o bren, a golcher y gwddf yn dda oddifewn, dair neu bedair gwaith y dydd. Dylid gweinyddu carthbair yn fynych; mae hyny yn tueddu i leddfu yr arwyddion twymynaidd. Os bydd yr afiechyd yn cynnyddu, ac yn crawn-aeddfedu, ag atal anadl y goddefydd, bydd yn ofynol brathu y chwydd gyda *gum lancet*. I wneuthur hyny, dalier y tafod i lawr gyda choes llwy. Mae dodi gelod wrth y gwddf, weithiau, yn gwellhau yr anhwyldeb yma yn hollol, yn y dechreu. Os bydd chwydd mawr yn y gwddf, rhodder sugaethen o *slippery elm* wrtho, oddiallan.

Hwn oedd yr afiechyd a laddodd y Llywydd Washington. Mae golchi y gwddf yn fynych gyda dwfr oer, yn effeithiol hynod er atal ymosodiad yr anhwyldeb yma. Gwellhaodd Byron ei hun felly yn hollol.

---

## ENYNIAD Y CLUSTIAU. *(INFLAMMATION OF THE EARS.)*

Arwyddion.—Yn Enyniad y Clustiau, mae poen llym yn gydfynedol, a mwy neu lai o dwymyn—weithiau, gorphwyllder—-chwydd, a chochni a ganfyddir, weithiau, oddiallan.

Achosion.—Eisteddfod yr enynfa sydd yn y memrwn tufewnol y clustiau; pa un sydd wedi ei ddiwallu yn helaeth â giau. Gall enyniad gael ei achosi, trwy ddynoethi y clustiau i awel o wynt oer; ac yn aml, achosir trwy dori ymaith y gwallt.

TRINIAETH.—Os bydd y boen yn erwyn, berwer hopys mewn gwinegr a dwfr; yr un faint o bob un, a rhodder hwynt mewn gwlanen, a chymhwyser at y clustiau, hyd oni byddo y boen wedi lleddfu. Bydded hefyd i'r traed gael eu baddio mewn dwfr twym. Os bydd y moddion hyn yn methu, cymerer *sassafras oil*, hanner owns; *olive oil*, un owns; *camphire*, un dram; cymysger yr enaint yma, a thywallter ychydig o hono ar gotwm, a rhodder wrth y glust. Os bydd y boen wedi hyny yn parhau, dyferer i'r glust ychydig ddyferion o *laudanum*. Wedi myned trwy y driniaeth yma, a'r boen yn parhau, rhaid gwneuthur pob ymdrech i gynnyrchu chwysdarthiad. Rhodder plastr o fwstard y tu ol i'r gwddf. Ac mewn rhai achosion, bydd yn ofynol rhoddi plastr bothellog y tu ol i'r gwddf.

---

## ENYNIAD Y LLYGAID. *(INFLAMMATION OF THE EYES.)*

ARWYDDION.—Poen llym, fel pe byddai yn cael ei gyfyngu yn un parth neillduol—teimlad fel pe byddai rhyw sylwedd estronol yn y llygaid—cochni, a gwres mawr—gwythenau, nid yn unig yn chwyddedig gan waed, ond yn ymddangos yn fwy niferog—poen llym wrth symud, yr hyn lleiaf, ar belenau y llygaid—cynhyrfiad neillduol yn y llygaid, pan fyddont yn cael eu dynoethi i oleuni—arllwysiad annghyffredin o ddagrau, o natur frwdiol.

Pan fyddo yr arwyddion hyn wedi ymddangos am ysbaid o amser, mae yr ymddangosiadau hyn yn diflanu. Ond mewn rhai achosion, er i bob arwydd o enyniad, yn allanol, ymadael—y boen a'r dwymyn arddangosol—eto mae y chwydd, a'r cochni yn aros, ac yn aml, yn

bodoli amser maith wedi i'r holl arwyddion leddfu. Yn nghyfnod yr enyniad, mae gweliau bychain yn ffurfio yn fynych ar y llygaid.

Achosion.—-Niweidiau allanol, megys ergydion—briwio, ac archolli y llygaid—sylweddau estronol ynddynt, o natur gynhyrfiol--arferiad gormodol o ddiodydd poethion—dynoethiad i awyr oer, lym—llethiad rhyw ymgarth arferol—dynoethiad y llygaid am hir amser i oleuni dysglaer. Y mae yn gyffredin, yn gynghlwyfus *(contagious.)*

Triniaeth.—Yr amcan cyntaf, yn enyniad y llygaid, ddyleu fod ymdrechu symud ymaith sylweddau estronol, neu beth bynag a all fod yn achosi y cynhyrfiad. Yn ail, ymdrechu lleddfu yr enyniad mor fuan ag y byddo modd. Mae symud ymaith sylweddau estronol, o'r pwysfawrowgrwydd mwyaf, o herwydd, cyhyd ac y byddont yn y llygaid, ni bydd un moddion yn cael effaith briodol.

Ehedfaen *(magnet,)* a dŷn ymaith ddarnau o haiarn. Gwyfr arian wedi ei churo yn denau, neu wrychyn mochyn, gan blygu y ddau ben yn nghyd, sydd hynod dda. Os bydd y sylweddau estronol yn fân, megys tywod, &c., cymerer llws tenau, wedi ei wneuthur o *slippery elm*, a bydded i'r goddefydd ddal ei ben yn ol, gymaint ag a allo, tra byddo person arall yn chwistrellio y dwfr *slippery elm* i'r llygaid; gwna y llwch, neu y tywod, yn y modd hyny, lynu wrth y llws, ac felly ceiff ei olchi allan; tuedda hefyd i leddfu yr enyniad. Wedi symud ymaith y sylweddau estronol, y peth yw, ymdrechu lleddfu yr enyniad. Os bydd y boen yn llym, berwer dail *stramonium*, mewn *whiskey*, a rhodder wrth y llygaid, newidier bob pedair, neu bump awr; a golcher y llygaid wrth ei newid â dwfr gwlaw ag ychydig *laudanum* ynddo. Wedi defnyddio y twym-olchiadau hyn, am ysbaid o amser, gellir arfer golchiadau o

duedd oerawl, megys un dram o *borax*, a deg gronyn o *sugar lead*, mewn hanner peint o ddwfr gwlaw; wedi ei ferwi, hidler trwy fretyn, a golcher y llygaid dair neu bedair gwaith. Wedi arfer y golchiadau hyn, am ysbaid o amser, fe allai y bydd yn ofynol arfer moddion mwy cymhelliadol *(stimulating,)* i'r dyben o gynnyrchu gweithrediad yn llestri y llygaid. Cymerer o'r brandy goreu, hanner peint; dwfr gwlaw, hanner peint; *gum camphire*, hanner dram; cymysger a golcher y llygaid gyda hyn, yn lled fynych. Yn enyniad llygaid, mae yn ymddibynu cymaint ar gyfartalu y cylchrediad, a mwy na dim arall; dim ond meddwl am natur yr anhwyldeb, gellir yn eglur ganfod yr angenrheidrwydd o hyny. Mae tueddiad y gwaed gymaint i'r pen, ac yn fynych mae y traed yn oerion, ag am hyny, mae yn ofynol baddio y traed mewn dwfr twym, hwyr a boreu, a rhoddi plastr mwstard wrthynt y nos. Mae hyny yn cyfartalu y cylchrediad, trwy ddenu y gwaed o'r pen, i'r aelodau.

Rhaid gweinyddu carthbair hefyd, dair neu bedair gwaith yr wythnos. Ac os bydd y goddefydd yn methu cysgu, rhodder iddo ddeg gronyn o'r powdr chwysbair, amser gwely. Ac i'r dyben o gynnyrchu chwysdarthiad, yfer yn helaeth o dê *penny-royal*, neu *catnip*, a chymerer hefyd ddau neu dri gronyn o bowdr *ipecacuhana*, bob tair awr, yn nghyfnod y dydd.

Mae rhoddi plastr bothellog, y tu ol i'r gwddf, yn hynod o effeithiol weithiau, yn enyniad y llygaid. Mae golchi llygaid gweiniad mewn dwfr oer, dair neu bedair gwaith yn y dydd, yn un o'r meddyginiaethau goreu; golchi y bochgernau, y talcen, y pen, y clustiau, a'r gwddf, gyda dwfr oer; wedi hyny, sychu y parthau yn sych gyda lliain brâs. Mae hyn yn rhinweddol neillduol yn ngwellhad enyniad hir-barhaol, a llygaid gweiniaid.

## GWAEDLIF O'R YSGYFAINT. *(BLEEDING FROM THE LUNGS.)*

Arwyddion.—Ymarllwysiad o waed o'r genau, o liw coch dysglaer, gyda mwy neu lai o beswch; ac o flaen hyny, weithiau, bydd archwaeth hallt ar y poer, yn gydfynedol â chaethiwed yn y ddwyfron; ac yn fynych, mae mwy neu lai o boen yn gydfynedol.

Achosion.—Gwendid—enciliad y gwaed o'r arwyneb, neu y man-wythenau brigeraidd—tueddiad i'r darfodedigaeth ysgyfeinaidd—llefaru yn uchel—gormodol gywestach—ergydion ar y ddwyfron—llethiad ymgarthiadau arferol.

Triniaeth.—Yn gyntaf, mae yn ofynol cyfartalu cylchrediad y gwaed, trwy faddio y traed a'r dwylaw mewn dwfr twym; wedi hyny, rhoddi plastr o fwstard wrthynt. Yn ail, gweinydder pelen, cymaint a physen, o *opium* a *carbonate of iron*, yn cynnwys yr un faint o bob un, bob dwy awr neu dair. Yfer hefyd yn helaeth o drwyth y *bugle weed*, neu gollen goch (*witch-hazel.*) Dwfr ag ychydig o halen ynddo, sydd hynod o effeithiol a rhinweddol.

Wedi atal y gwaedlif, mae yn ofynol arfer moddion cryfhaol, megys y melysnodd llysieuaidd (*vegetable syrup,*) i'r dyben o gryfhau gwendid yr ysgyfaint. Os bydd y gwaedlif yn ystyfnig, ac yn parhau am hir amser, gweinydder y moddion canlynol:—Cymerer *gum kino*, undeg-pump gronyn; *cinamon*, pedwar gronyn; *opium* un gronyn; wedi eu gwneuthur yn bowdr, a'u cymysgu yn nghyd, a'u rhanu yn dri phowdr; rhodder un dair gwaith y dydd, gan gymeryd ar yr un pryd, y melysnodd llysieuaidd.

Bydd yn ofynol gweinyddu carthbair tyner, i'r dyben

o gadw yr ymysgaroedd mewn symudiad dyddiol, hefyd, rhodder tri neu bedwar gronyn o *ipecacuhana*, i'r dyben o ddal i fynu benderfyniad i'r croen.

---

## GWAEDLIF O'R CYLLA. *(BLEEDING FROM THE LUNGS.)*

Arwyddion.—Cyfogi gwaed o'r cylla, o liw tywyll; mwy neu lai yn dolchenog, ac yn aml yn gymysgedig â chynnwysiad y cylla; yn gydfynedol â theimlad o bwys, gofid, a phryder, yn mhorth y cylla. Nodweddir hwn oddiwrth waedlif o'r ysgyfaint, trwy nad oes peswch yn gydfynedol.

Achosion.—Ergydion yn allanol—gwenwyn—enyniad—cancr, neu galed-chwydd—llethiad rhai o'r ymgarthiadau arferol. Mae hefyd, yn fynych, yn effaith atalfeydd yn yr afu. Mae yn tarddu, weithiau, oddiwrth lethiad y misglwyf ar fenywaid, a'r lledewigwst ar wrrywaid.

Triniaeth.—Os yw yr anhwyldeb yn cyfodi o achos ataliad y misglwyf, mae yn ofynol adferyd hyny, gyda moddion priodol. Yn mhob achos mae yn angenrheidiol troi, neu ddenu y gwaed oddiwrth eisteddfod yr anhwyldeb, i'w redle cysefin. Medd un meddyg enwog, 'Rhaid baddio y traed, a dwyn yn mlaen, neu adferyd chwysdarthiad.' Cafwyd, trwy brofiad, fod carthbeiriau yn hynod ddefnyddiol; pa rai a ellir eu gweinyddu bob yn ail ddydd, neu yn ol arddangosiad yr arwyddion. Y maent yn symud ymaith y llwyth, neu y pwys o'r cylla, a'r teimlad o dyndra sydd yn canlyn yr anhwyldeb yma; a thrwy eu heffaith chwylfaol, maent yn iachau y llestri gwaed.

I'r dyben o atal gwaedlif helaethlawn, bydd yn ofynol

gweinyddu meddyginiaethau argaeol. Ychydig o halen cyffredin, mewn ychydig ddwfr oer, ai roddi bob dwy awr, sydd yn hynod effeithiol; neu cymerer dwfr oer âg ychydig *alum* ynddo. Os bydd y pethau hyn yn methu, cymerer o drwyth *beth-root.*

Pan fyddo y gwaedlif wedi atal, bydd yn ofynol cymeryd moddion cryfhaol, megys y meddyglyn adferiadol; neu y meddyglyn gwin sydd hynod addas ac effeithiol.

Dylid cymeryd y peleni gwrthgeriaidd, i gadw y coluddion mewn ansawdd ddatodadwy; ac er i'r coluddion fod mewn ansawdd felly, dylid gweinyddu carthbair yn achlysurol. Gwisgo plastr gryfhaol ar barth y cylla a brofwyd yn ddefnyddiol. Yr ymborth a ddyleu fod yn ysgafn, a maethlon.

---

## GWAEDLIF O'R FFROENAU. *(BLEEDING FROM THE NOSE.)*

Arwyddion.—Y mae oddifewn i'r ffroenau, nifer o lestri gwaed, fel rhwydwaith; a phan fyddo penderfyniad gormodol o'r gwaed i'r pen, a'r parthau hyny lle mae y gwaed yn dueddol o rwygo rhai o'r gwythenau; o herwydd nid oes ond memrwn teneu yn eu gorchuddio. Nid yw benywaid mor dueddol o waedu o'r ffroenau ag yw gwrrywaid, yn enwedig pan fyddo y mislifiant wedi sefydlu. Mae gwaedlif o'r ffroenau, yn dygwydd, weithiau, heb un rhybudd neillduol; ond, bryd arall, mae yn rhagflaenedig gan boen a thrymder yn y pen—gwrid yn y gwyneb—gwres ac ysfa yn y ffroenau. Weithiau mae y traed yn oerion, a chryndod trwy yr holl gorff; a bolrwymedd yn rhagflaenu y gwaedlif.

ACHOSION.—Hin wresog—ymegniad gormodol—niweidiau allanol—rhyw ystum neillduol ar y corff, neu un peth ag sydd yn achosi penderfyniad y gwaed i'r pen. Gwelais waedlif anhawdd ei atal, pan oedd y frech wen yn sychu a chrachenu oddifewn i'r ffroenau. Mae yn ofynol bod yn ofalus y pryd hyny, i beido ymyraeth a'r ffroenau, rhag ofn rhwygo rhai o'r llestri gwaed.

TRINIAETH.—Mae rhai yn arfer gwaedu ychydig o'r ffroenau yn fynych; mae yn gyffredin yn atal yn fuan ar y cyfryw; ond nid yw felly bob amser, ar bawb. Pan fyddo y gwaedlif o'r ffroenau yn parhau am hir amser, mae yn ofynol arfer moddion effeithiol i'w atal. Yn y lle cyntaf, bydded i'r traed gael eu baddio mewn dwfr twym; wedi hyny, gweinydder o wyth i ddeg gronyn o'r powdr chwysbarol. A chymerer o gig eidion sych, wedi ei fygu, a gradeller yn llwch mân, a rhodder yn y ffroenau, gan belled ag y byddo modd. Y mae hyn, yn gyffredin, yn atal y gwaedlif yn fuan; ac os na bydd, maler *alum*, a rhodder yn y ffroenau, hyd oni byddo y gwaed wedi ceulo, ac felly ei atal.

Bydd yn ofynol rhoddi y powdr chwysbarol, bob pedair neu bump awr, hyd oni byddo y gwaed wedi ei yru i'r mân-wythenau croenawl.

---

## GWAEDLIF O BEIRIANNAU Y DWFR.
## *(BLEEDING FROM THE URINARY ORGANS.)*

Nid yw hyn yn fynych yn afiechyd gwreiddiol. Mae yn fynychaf yn arddangosiad o anhwylderau eraill, a achosir weithiau, gan niweidiau allanol, gan ergydion, neu godymau—ymegniad, megys codi pwysau trymion

—neidio neu farchogaeth yn galed—careg wedi sefyll yn yr arenau, neu y pibellau rhwng yr arenau a'r bledren. Os bydd y gwaed yn deilliaw yn uniongyrchol o'r bledren, o achos bod careg ynddi, mae yn gydfynedol a phoen llym a theimlad pwysol yn y cefn, ac anhawsder i arllwys y lleisw. Mae ymadel â lleisw gwaedlyd, yn dynodi perygl, yn enwedig pan fyddo yn gymysgedig â sylwedd crawnllyd; o herwydd mae yn arddangos bod gweliau yn rhyw barth o'r peiriannau. Ychwaith, nid yw y perygl yn llai pan fyddo wedi cael ei achosi gan archollion, neu ysigiadau yr arenau.

Triniaeth.—Mae triniaeth yr afiechyd yma, yn gynnwysedig mewn gweinyddu lleisw-beiriau cymhelliadol; a moddion argaeol dyferwaed lleisw-bair, a ellir eu rhoddi yn ol y cyfarwyddid yn narpariad y moddion hyny. Neu, gellir arfer y dyferion lleiswbair, llonaid llwy dê dair gwaith y dydd, mewn trwyth *beth-root*, neu ddail *beach tree*.

Cadwer yr ymysgaroedd yn agored gyda y carthbair *jalap* a *cream of tarter*. Rhodder deg gronyn o'r powdr chwysbair amser gwely; neu dair neu bedair gwaith y dydd; os bydd y boen yn flinderog.

---

## CYD-DYRIAD. *(CONGESTION.)*

Mae y fath yma o amhywldeb, y dull mwyaf syml o afiechyd ag sydd yn bodoli; er hyny, yn fynych yn hynod o beryglus. Cynnwynol achos o hono yw gwendid—diffyg gweithrediad a nerth, neu gywair yn y llestri, i yru y gwaed i'r arwyneb; o ganlyniad, mae casgliad canolaidd o waed, yn amrywio yn ol amgylchiadau y goddefydd.—Weithiau yn y gyfundrefn gylchredol yn gyffredinol; weithiau yn y pen, neu yr ysgyfaint a'r

galon; neu yn yr afu a'r ddueg *(spleen.)* Mewn cyflyrau angeuol, mae yn canlyn dywalltiad meiddwaed *(serum,)* i'r parthau lle y byddo y cyd-dyriad. Mae yr arwyddion hyny yn nodedig, yn canlyn tywmynau geriaidd, oddiwrth hyny, maent yn cael ei galw yn dwymynau cyd-dyriadol *(congestive fevers.)* Mae yn ymddangos fod gradd o gyd-dyriad yn gydfynedol â phob rhywogaeth o dwymynau; ac y mae ansawdd twymyn, neu y cynhyrfiad a ganfyddir, yw ymdrech natur, yn ymdrechu daduno y cyd-dyriadau. Lle nad oes grymusder digonol yn y corff, i gynnyrchu y cynhyrfiad hyn, meddyg deallus sydd yn gorchymyn gweinyddu cymhellyddion *(stimulants)* yn dufewnol, a chymhwyso brydaniaeth yn allanol. Er hyny, yr oedd meddygon er ys amser yn ol, ac eto, mae rhai yn glynu wrth yr hen ddefodau, un ai trwy eu hanwybodaeth, neu esgeulusdod treiddio i ansawdd afiechyd, cynghorant weinyddu cymhellyddion i gynnyrchu cynhyrfiad; ac wedi hyny, yn troi oddi amgylch, ar ol cynnorthwyo natur i'w gwanhau. Y llwybr y mae yn gymeryd, dylid ei ddilyn.

Arwyddion.—Cyd-dyriad sydd fel un o'r arwyddion mwyaf hynodawl, yn yr anhwylderau canlynol.

Achosion.—Y mwyaf cyffredin yw cymhwysiad oerder am hir amser at y corff. Mewn cyfansoddiadau gweiniad, arosiad yn, neu gymhwysiad dwfr oer, sydd wedi achosi cyd-dyriad y gwaed yn y rhanau tufewnol. Mae hyny yn cilgwthio o, ac yn rhwystro y gwaed i'r mân-wythenau. A thrwy hyny, mae y gwaed yn croni mewn rhyw beiriant, neu beiriannau gwanaf yn y corff; ac oni byddant yn ddigon grymus i ddwyn oddiamgylch wrthweithrediad, yn y cyflwr hyny, erys yno; ac enyniad a marw-lygriad fydd y canlyniad. Ac os rhoddir cynfasau gwlybion, oddiamgylch goddefydd, ac oni bydd natur yn ddigon grymus yn du-

fewnol, i ddwyn yn mlaen wrthweithrediad, marwolaeth fydd y canlyniad. Mae llawer wedi, ac yn cael ei lladd felly.

Heblaw hyn, ymgarthiadau gormodol—-gollwng gwaed—ofn—meddwdod—bwyta gormodedd—digofaint ffyrnig—mwshedion—y geriwst (*cholera morbus*)—esgoreddiad—codymau—a chleisiau, neu ryw oruchwyliaeth wanhaol. Plant, a hen bobl, ydynt fwyaf darostyngedig i gyd-dyriadau tufewnol. Cyd-dyriad yw cynnwynol achos o'r anhwylderau canlynol.

---

## Y PARLYS MUD. (*APOPLEXY.*)

Hyn sydd gyd-dyriad y gwaed yn y pen.

Arwyddion.—-Diswyddiad, neu ataliad disymwth teimladrwyd; ag ysgogiadau, weithiau, yn syrthio i lawr yn ddiarwybod—y gwaedgur yn fychan ar y cyntaf, ond yn dyfod yn araf a llawn—anadliad llafurus, yn gydfynedol â sŵn chwrnllyd. Mae weithiau, yn rhagflaenu y Parlys Mud, syfrdandod—sŵn yn y clustiau—y llygaid yn bwl—poen a thrymder yn y pen—cysgfa yn rhai o'r aelodau—yr hunllef—anhawsder i lefaru—weithiau, ffrwd anwirfoddol o ddagrau—chwys llafurus.

Ffafriol.—Y gallu o ymadroddi, a sylwi ar wrthddrychau, yn dychwelyd—gwaedlif o'r ffroenau—yn enwedig chwysdarthiad cyffredinol a thwym. Nid yw y tarawiad cyntaf, bob amser, yn profi yn angenol; ac weithiau, y mae adferiad hollol wedi yr ail.

Anffafriol.—-Hurtrwydd cyflawn, tebyg i gwsg trwm, o ba gyflwr nis gellir dadebru y goddefydd—y gwaedgur yn dyfod yn fychan, buan, ac anrheolaidd—

oerder anarferol yn yr aelodau—diffyg anadl. Anfynych y ceir adferiad o'r trydyd ymosodiad.

Achosion.—Byw yn uchel—bwyta yn ormodol o gig a brasder, yn enwedig cig moch—arferiad gormodol o win, a diodydd meddwol—ystum ymgrymol y corff—defod eisteddol—tê a choffi cryf—dynoethi y pen i'r haul—goddef oerni dirfawr—anwydau angerddol—ataliad ymgarthiadau arferol—trosglwyddiad y droedwst—twymynau dyspeidiol—colli llawer o waed. Mae yn gyffredin, yn dygwydd ar bobl fyrion, praffus, o gyfansoddiad cnawdol, â phenau mawrion, a gyddfau byrion, ac o dymer waedlyd. Yn y cyfryw, mae yn gyffredin, ragdueddiad etifeddol iddo.

Triniaeth.—Y peth cyntaf sydd ofynol i'w gyflawni yn yr anhwyldeb, yn nghyfnod yr ymgyrch, yw ymdrechu gwrthalw y gwaed o'r ymenydd, i'r arwyneb, a'r aelodau. Bydded i'r goddefydd, yn ddioed, gael ei roddi mewn ystafell gysyrus, oeraidd ac awyrog, a phob peth sydd yn gwasgu oddiamgylch iddo, yn enwedig ei wddf, gael eu symud ymaith; a doder ei draed, a'i goesau, mewn dwfr *ley* lled dwym; gadawer ynddo am ysbaid undeg-pump o fynydau; a golcher ei holl gorff mewn *tincture capsicum*, yn dwym. Os bydd y goddefydd yn analluog i gymeryd cyfferi, trwy ei enau, rhodder y chwistrelliad canlynol, cymysgedig o drwyth *lobelia* a phypur cochion, un peint; llefrith, un peint; *sweet*, neu *olive oil* â *molasses*, llonaid gwin-wydr o bob un; a llonaid llwy dê o halen cyffredin. Cymysger, a rhodder oll ar un waith. Bydd hyn yn foddion i symud y sylwedd gwaddodlyd o'r coluddion; a thrwy ddylanwadu ar yr ymenydd, trwy gyfrwng y cylla. Gofaler am gadw y goddefydd yn gynes; ac i'r dyben o gynnyrchu chwysdarthiad, rhodder priddfeini poethion, a gwlanen wedi ei gwlychu mewn gwinegr oddiamglch iddynt, a'u cymhwyso at y traed a'r aelodau. Mae

hyny yn tueddu, i gynnorthwyo ail-ddychweliad y gwaed i'w redle priodol. Ceir, bob amser, fod y traed yn oerion, a'r pen yn boeth. Wrth hyny, canfyddir yn eglur pa fodd i weithredu. Y mae yn ofynol rhoddi plastr o fwstard rhwng yr ysgwyddau, ac wrth wadnau y traed, ac oddifewn i'r coesau. Gweinydder hefyd garthbair mor fuan ag y medr y goddefydd lyncu. Mae yr anhwyldeb, weithiau, yn cael ei achosi, trwy arlwytho y cylla; gan hyny, mae carthbair yn hynod angenrheidiol.

Mae triniaeth o'r fath yma, yn llawer mwy effeithiol nag oedd yr hen ddefod o ollwng gwaed, fel y buwyd yn gwneuthur yn fynych, o chwech i wyth pwys.

Mae yn beth rhyfedd, fod meddygon yn parhau i gyflawni yr hyn sydd wedi ei brofi, amryw weithiau, gan yr awduron enwocaf, yn achosi cyd-dyriad, a'r Parlys Mud. Dywed Recamier, ei fod ef wedi sylwi, amryw weithiau, fod gollyngiad gwaed yn atal gwrthweithrediad, a thrwy hyny yn rhwystro gwellhad y Parlys Mud; ac felly yn profi yn angeuol i'r goddefydd.

Pan fyddo y goddefydd wedi adferu i raddau, o ymgyrch y Parlys, y peth nesaf fydd ymdrechu atal dychweliad iddo. I gyflawni hyny, mae yn ofynol i'r claf gymeryd carthbair un waith, neu ddwy yn yr wythnos; gellir hefyd weinyddu cyfogbair, lle nad oes un peth yn arddangos perygl o hyny.

Y mae cyfogbair, weithiau, o ddefnyddioldeb mawr, trwy fod tuedd ynddo i ddenu y gwaed o'r pen; ac hefyd, ei yru i'r mân-wythenau croenawl.

Y mae arferiad mynych o'r baddon ager, yn fuddiol, i'r dyben o gefnogi chwysdarthiad, a chludo ymaith y sylweddau estronol ag sydd yn anmhur, ac yn achosi ansawdd gludiog y gwaed; neu mewn geiriau ereill, y mae baddon ager yn tueddu, gyda moddion ereill, i buro y gwaed. I'r un dyben, dyleu y goddefydd gymeryd y

melysnodd *sarsaparilla*. Bydd yn angenrheidiol parhau i faddio y traed, o'r hyn lleiaf dair, neu bedair gwaith yr wythnos; a baddio y pen â dwfr oer, yn enwedig bob boreu.

Trefniad Ymborth.—Dylid ymatal oddiwrth bob math o ymborth o natur wresog, megys cig, &c.; hefyd oddiwrth win a diodydd meddwol; a gwneuthur arferiad o ymborth llysieuaidd; a chymeryd ymarferiad yn yr awyr agored, a gofalu am fod yn gymedrol yn mhob peth.

---

## LLEWYGON. *(FAINTINGS.)*

Mae yr anhwyldeb yma yn rhanol, o ddiffyg gweithrediad gieuedd a chyd-dyriad cyffredinol y gwaed.

Arwyddion.—Dechreua gydag anesmwythder o gylch y ddwyfron—y pen megys yn nofio—gwendid—tywyllwch o flaen y llygaid, yn ganlynol â cholliant disymwth teimladrwydd, ac ysgogiad, a safaldod hollol y gwaedgur a'r anadliad.

Achosion.—Cyffroad angerddol—nwydau ffyrnig—poen dirfawr—colli llawer o waed—cynhyrfiad, neu anhwyldeb y galon, &c. Mae rhagdueddiad i lewygon, bob amser, lle mae gwendid mawr.

Triniaeth.—I'r dyben o adferyd y goddefydd, gosoder ef ar ei orwedd, mewn lle ag y byddo yr awyr yn cael mynedfa rwydd ato; rhwbier y coesau, y cluniau, a'r breichiau, â gwlanen boeth; a rhodder gwinegr cryf, neu *hartshorn*, wrth y ffroenau. A gweinydder y cyfferi canlynol: *aqua ammonia*, deg dyferyn; *spirit of lavender*, llonaid llwy dê; cymysger âg ychydig ddwfr, a rhodder oll ar un waith.

Os bydd amgylchiadau yn caniatau, bydded i'r traed

gael eu baddio mewn dwfr twym; a rhwbier ar barth y cylla, y *tincture capsicum*. Os na bydd y goddefydd yn adfywio yn mhen ychydig amser, wedi myned trwy y driniaeth flaenorol, rhodder iddo y *brandy* goreu, â dwfr poeth a siwgr.

Dyleu personau sydd dueddol i lewygon, ochelyd lleoedd tyrfaog, a lleoedd y mae yr awyr yn gaethiwus; a gochelyd, hefyd, bob peth sydd dueddol o gynhyrfu y meddwl a'r nwydau. Pob math o rwymynau tynion, a ddylent gael eu tynu ymaith rhagblaen.

## SAFALDOD BYWHAD. *(SUSPENDED ANIMATION.)*

Mae bywyd yn fynych, neu y gweithrediadau bywiol, yn sefyll am ysbaid o amser; ac wedi hyny, trwy ddylanwad moddion, neu alluoedd natur, yn ail gychwyn, ac yn rhoddi adferiad hollol i lawer, ag y meddyliwyd eu bod tu hwnt i fedrusrwydd a gallu naturiol. Mewn cyflyrau ag sydd yn profi yn farwol, mae y gwaed yn gadael y mân-wythenau brigeraidd yn hollol, ac yn aros yn y gwythenau mawrion, o ddeutu y galon, &c. Hyn i raddau, yw y cyflwr mewn pob math o safaldod bywhad, ac y mae y peth mwyaf pwysfawr i fod ar feddwl y rhai hyny a fyddo yn ymgais adfywio y cyfryw.

Boddi.—Personau wedi bod o dan ddwfr am undeg-pump, neu ddauddeg mynyd, a allant, y rhan amlaf, gael eu hadferyd i fywyd; ac hyd yn nod hanner awr, a hŵy weithiau, er eu bod yn ol pob ymddangosiad, yn hollol farw.

Arwyddion.—Lliw glâs, neu lasgoch ar y gwyneb, a'r gwddf—yr ymysgaroedd yn chwyddedig sydd un arwydd nodedig.

Ffafriol.—Gradd o gynhesrwydd—llamneidiad dirdynol yn y cyhyrau, y gwyneb, a'r traed—cryndod gwynegol, &c.

Anffafriol.—Ysmotiau dulas a llwyd-dywyll ar y gwyneb—y llygaid yn dryloywaidd—y croen yn wywlyd, a'r corff yn hollol oer. Ond yr unig arwyddion diobaith yw, maith a mynych ymdrech i adferyd bywyd yn ddieffaith.

Triniaeth.—Pan fyddo safaldod bywhad wedi ei achosi trwy fod yn hir mewn dwfr, rhodder y goddefydd mewn lle cyfaddas, tyner y dillad gwlybion ymaith, a sycher y corff drosto oll yn sych, gyda gwlanen, troer y gwyneb yn isaf, fel byddo i'r dwfr, ag sydd dueddol o fod yn yr ysgyfaint redeg allan. Nid ei dreiglo yn erwin ar hyd gelyrnau, fel y mae yr arferiad weithiau. Baddier y traed mewn dwfr; rhodder hefyd chwistrellan; a phoether cerrig a phriddfeini, a rhodder wrth y traed a'r ochreu; bydded i'r ffenestri gael eu hagor, fel y byddo awyr ddilwgr yn cael mynedfa at y goddefydd. Bydded i'r ysgyfaint gael eu dymchwyddo trwy anadlu iddynt, gyda y genau, neu fegin, tra byddo un arall yn pwyso i fynu ac i lawr ar y ddwyfron, i'r dyben o gynnyrchu symudiadau cyffelyb i anadlu. Pan fyddo arwydd o adfywiad wedi cymeryd lle, a'r goddefydd yn gallu llyncu, rhodder *spirit of lavender*, llonaid llwy dê; *aqua ammonia*, deg dyferyn.

Yr un cyffelyb driniaeth raid arfer ar bersonau wedi boddi o phob math o safaldod bywhad, o herwydd mae yr achos o'r un natur.

## MYGIAD. *(SUFFOCATION.)*

Mae hyn yn dygwydd yn rhy fynych trwy anadlu tagdawch (*carbonic acid gas*,) yr hwn sydd yn cael ei gynnyrchu wrth losgi golosg-goed mewn ystafelloedd caedig; hefyd, mewn ffynnonydd, mŵn-gloddiau, odynau, ymlefeiniad mewn darllawdai, &c.

Triniaeth.—Na fydded i neb byth fyned i lawr i ffynnonau, neu lefydd, gan feddwl achub un fyddo wedi cael ei fygu gan y *gas*, heb yn gyntaf dywallt dwfr oer ar ben y cyfryw. Mae hyny, nid yn unig yn dihuno galluoedd gieuedd y goddefydd, ond hefyd, yn gyru awyr ato. Pan fyddo wedi ei gael allan, arferer yr un driniaeth ag mewn achosion o foddiad.

---

## MELLT. *(LIGHTNINGS.)*

Y lle mwyaf diogel, i fod yn nghyfnod ystorm o fellt a tharanau, yw canol ystafell, a phell oddiwrth arweinyddion metelaidd; hefyd, gwlychu y llawr, oddi amgylch ymylau ystafell, sydd yn ychwanegu diogelwch. Gwely pluf, hefyd, sydd yn cael ei ystyried yn lled ddiogel; ond ni ddyleu fod yn gyswllt a'r muriau.

Mae llawer o bobl yn goddef llawer gan ofn mellt, pryd nad oes dim perygl. Mae yn tarawo bob amser lle bydd yn gwlawio fwyaf; am hyny, mae yn aml ryw redfa neillduol. Os bydd amser hir rhwng y llewyrchiad a'r daran, mae y pwynt tarawiadol yn mhell; ond os bydd yn agoshau, mae yn ddoethineb rhagochelyd.

Arwyddion.—Nodweddir marwolaeth gan darawiad mellten, wrth anhyblygedd y cyhyrau (*muscles*,) ag amrywiol ysmotiau a wneir gan yr hylif trydanawl.

Triniaeth.—Taenellu dwfr oer, oddiallan, yw un o'r pethau goreu a brofwyd erioed. Ac mor fuan ag y gellir, gweinyddu cymhellyddion; megys *brandy*, *cayenne pepper*, *&c.*, yn dufewnol; goreu pan gyntaf. Ychydig ddyferion o *spirit ammonia*, mewn dwfr, a ellir ei roddi, ag a brofwyd yn hynod effeithiol.

---

## CODYMAU AC ERGYDION. *(FALLS AND BLOWS.)*

Safaldod bywhad, oddiwrth yr achosion yma, yw yr ymgyrchfa olaf sydd gan feddygon yr hen ddefod, fel esgus i ollwng gwaed. Ond y mae yr awduron enwocaf, yn bresenol, yn anghymeradwyo hyny hyd oni byddo gwrthweithrediad wedi ei gynnyrchu. Ac yn ddiamheuol, wedi hyny, fod modd mwy priodol ac effeithiol i gynnal hyny yn mlaen.

Nis gellir gollwng gwaed yn yr achos hyn, y rhan amlaf, heb yn gyntaf weinyddu cymhellyddion, i gychwyn y gwaed o'r rhanau tufewnol.

Triniaeth.—Mae codymau ac ergydion, yn gofyn cyffelyb driniaeth ag yw yr anhwylderau blaenorol a nodwyd, oddigerth pan fyddo archollion a thoriad esgyrn; rhaid trin hyny, yn ol y driniaeth a roddir o dan y gwahanol benau; sef archollion, a thoriad esgyrn.

---

## LLETHIAD Y LLEISW. *(SUPPRESSION OF URINE.)*

Arwyddion.—Tueddiad mynych i arllwys y lleisw, yn gydfynedol a phoen llym—llosgiadau ag anhawsder

i'w arllwys—ac weithiau, ataliad hollol y lleisw, gyda phoen dirfawr, a chwydd yn y bledren. Nid yn fynych y mae perygl yn ei ganlyn.

Achosion.—Enyniad yn yr *urethra*, sef y chwibol y rhed y dwfr o'r bledren—yr anlladwst *(syphillis)*—gweliau yn y cilchwyrnau (*prostrate glands*,) sydd o bob tu y bledren—enyniad yn y bledren, neu yr arenau—gwirodydd poethion—graean yn y bledren, neu yr *urethra.*

Os bydd yr achos, trwy fod cerig, neu raean yn yr arenau, neu yr *ureters*, pibellau mae y dwfr yn rhedeg o'r arenau i'r bledren, bydd poen dirfawr yn y lwynau—arloesygiad a chyfogiad. Os yn y bledren, neu *urethra*, teimlir y boen yn mhen y rhodnell (*penis*,) wrth arllwys y lleisw, a bydd ffrwdlif yn rhanedig a throedig. Os oddiwrth afiechyd yn y cilchwyrnau *(prostrate glands*,) chwydd marwaidd, fydd yn aml, yn llieingig y bol.

Triniaeth.—Pan fyddo un yn cael ei gymeryd gan lethiad y lleisw, mae ei roddi yn y dechreu, mewn baddon twym, o'i draed hyd ben y cluniau (*hips*,) yn rhagorol effeithiol, ac yn rhoddi esmwythad buan. Fel ag y crybwyllwyd o dan y pen Fferylliaeth, fod gwrês yn llàchau, ac felly yn eangu pob peth. Hyny sydd eisieu yn aml, yn yr anhwyldeb yma, sef eangu a llácbau mynedfeydd y lleisw. Gellir arfer twymolchiadau yn lle y baddon, megys hopys, *catnip*, *wormwood*, a *tansy*, wedi ei berwi mewn dwfr, a'u cymhwyso at y parth isaf o'r bol, a'r ochrau. A bydded i'r goddefydd a'r yr un pryd, gymeryd y moddion canlynol:—llonaid gwinwydr o *Holland gin;* rhodder ato lonaid cwpan dê o drwyth *spearmint;* dwy lonaid llwy dê o *spirit nitre;* cymysger, a meluser gydâ mêl; a rodder i'r goddefydd a'r unwaith. Gellir roddi yr un faint iddo bob awr, hyd oni byddo wedi esmwythau. Os bydd y boen yn erwin,

rhodder pedwardeg dyferyn o *laudanum* yn mhob dogn. Mae y driniaeth yma yn gyffredin, yn esmwythau y goddefydd mewn awr, neu ddwy.

Yn llethiad y lleisw, mae yn ofynol weithiau, arwain i mewn y *catheter;* rhaid gwneuthur hyny gyda gofal; a gwell cael rhyw un a fyddo wedi arfer ei arwain. Gwell fydd peido ei arfer, os gellir effeithio arllwysiad trwy foddion ereill.

Gwelais y moddion canlynol yn profi yn effeithiol, pan oeddid wedi meddwl yn benderfynol, y byddai yn rhaid arwain y *catheter*. Hanner peint o *spirit of spearmint*, a *spirit nitre*, hanner owns; *camphire*, hanner dram. Cymysger yn nghyd, a rhodder yn ddognau o lonaid llwy fwrdd bob hanner awr, gyda tê *parsley;* ac ar yr un pryd, arferer y twymolchiadau. Bydd yn ofynol gweinyddu carthbair yn mhen ychydig oriau. Mae *jalap* a *cream of tartar*, yn un o'r carthbeiriau goreu yn yr anhwyldeb yma. Yn mhob math o lethiad y lleisw, mae *opium* yn hynod o ddefnyddiol er mwyn esmwythau y boen; dauddeg, neu drideg dyferyn o *liquor potasse*, gyda hanner llonaid llwy dê o *laudanum*, bob pedair neu bump o oriau, sydd hynod o dda. Yfed hefyd o ddiodydd llysnafeddog, megys tê had llîn, *slippery elm*, a dwfr haidd ag ychydig o *gum arabic* ynddo; mae y cyfryw yn lleddfu y llosgfa, a'r cynhyrfiad yn ngenau y bledren.

Os bydd y llethiad yn cael ei achosi gan gareg yn chwibol y dwfr, mae chwisdrellau o ddwfr cynes, âg ychydig o *sweet oil* ynddo, yn achosi esmwythad mawr.

Os bydd y goddefydd yn dueddol o gael ei flino gan lethiad y lleisw, dyleu gymeryd y dyferwad lleiswbair, tê *spearmint*, *queen of the meadow*, *cleavers*, *pumkin seed*, *&c.*

## LLETHIAD Y MISGLWYF. *(SUPPRESSION OF THE MENSES.)*

Arwyddion.—Y gynghawsedd hyny ddim yn cael ei gyflawni yr yr amser arferol, neu briodol—neu yn atal yn ddisymwth wedi unwaith ddechreu—yn gydfynedol â rhyndod—twymyn—cur yn y pen—-gwall chwant bwyd—tynerwch yn mharth y groth—a phoen yn y lwynau, y cefn, a'r aelodau. Os bydd yn parhau am ysbaid o amser, bydd gwaedlif yn dueddol o gymeryd lle o'r ffroenau, neu yr ysgyfaint.

Achosion.—-Diofalwch, trwy wlychu y traed—-gwisgo dillad lleithion a theneuon; neu unrhyw ddynoethiad arall i oerfel, yn enwedig tra byddo y dyferlif yn bodoli. Mae diffyg cymeryd ymarferiad yn yr awyr agored, yn un o'r achosion mynychaf; hefyd, ymollwng i syrthni dioglyd. Y mae siomedigaeth, ofn, y darfodedigaeth ysgyfeinaidd, ac achosion ereill o nychdod yn ei achosi.

Triniaeth.—Wrth drin yr anhwyldeb yma, o'r dechreu, bydd yn angenrheidiol lleddfu yr arwyddion diriol. Os bydd y goddefydd mewn poenau dirfawr, rhodder dogn o'r powdr chwysbarol, ac yfed yn helaeth o drwyth *thyme* a *pennyroyal*. Baddier y traed hefyd mewn dwfr twym; wedi hyny, eu sychu yn sych gyda gwlanen. Os na bydd y boen erwin wedi lleddfu, yn mhen awr neu ddwy, bydded i drwyth gref o lysiau chwerwon, gael ei rhoddi mewn llestr cyfaddas, a rhodder y goddefydd wrth ei ben, fel byddo yr ager yn cael mynedfa at yr aelodau, a hyd at y meingefn; wedi iddo fod yn y sefyllfa hyn am ddeg, neu undeg-pump o fynydau, rhodder mewn gwely, a gorchuddier a dillad fel y byddo yn gynhes. Gellir cymhwyso gwlaneni wedi eu gwlychu yn y drwyth flaenorol, gan eu newid

yn aml, yn dwym at y parth isaf y bol. Wedi cynnyrchu esmwythad, y peth nesaf fydd gwneuthur ymdrech i reoleiddio y misglwyf gyda chyfred briodol o feddyginiaethau cryfhaol. Cyn dechreu arfer moddion cryfhaol, bydd yn ofynol gweinyddu carthbair. Y carthbair *mandrake* yw y goreu; ac os bydd y cylla yn gynhyrfiol, gellir arfer y peleni gwrth-gwalldreuliad (*anti-dyspeptic pills;*) y rhai hyn, yr un modd a phob moddion, a ddylent gael eu cymeryd pan fyddo y cylla yn wâg. Gellir yfed, fel diod gyffredin, lysiau y fam, a *pennyroyal*. Cymerer un o'r carthbeiriau hyn yn olynol, am dair neu bedair gwaith; cymerer bob dydd, neu bob yn ail ddydd o'r eithaf. Cymerer yn nghyfnod yr amser y meddyglyn adferiadol, yn ol y cyfarwyddid. Ni ddylid gweinyddu meddyginiaethau cymhelliol, i'r dybcn o gynnyrchu yr arllwysiad, oddigerth fod arddangosiad fod natur yn ymdrechu dwyn hyny oddiamgylch; yr hyn beth a ellir ganfod wrth boenau misol, a gwasgiad i lawr oddeutu pen y cluniau, a'r lwynau. Ac oni bydd yr arllwysiad yn ymddangos, wedi myned yn mlaen â'r driniaeth flaenorol, am wyth neu ddeg diwrnod, cymerer y cyffeiriau canlynol:—*gum turpentine*, hanner owns; *red oxide af iron*, neu y *carbonate*, hanner owns; *capsicum*, un dram; *malaga wine*, un chwart; cymysger—dogn llonaid llwy fwrdd bedair gwaith y dydd. Mae peleni wedi eu gwneuthur o dair rhan o *gum turpentine*, ac un rhan o *sulphate of iron*, ddwy neu dair ar unwaith, dair neu bedair gwaith y dydd, yn hynod rinweddol.

Y moddion ag oedd yr enwog Dr. Tidd yn ei arfer, gyda llwyddiant anarferol, sydd gynnwysedig o'r cyffyriau canlynol :—*gum myrrh*, pedair owns; *flower of sulpher*, pedair owns; *steel filings*, pedair owns; siwgr gwyn, pedair owns; berwer oll mewn un chwart o win, hyd nes byddo agos yn sych; wedi y tyner oddiar y

tân, a phan fyddo wedi sychu, bydded iddo gael ei bowdro; dogn llonaid llwy dê dair gwaith y dydd. Gellir ei wneuthur yn beleni, os bydd yn fwy dymunol gan y goddefydd ei gymeryd felly. Dyleu y goddefydd gymeryd cymaint o ymarferiad yn yr awyr agored ag sydd bosibl; o herwydd mae yn ymddibynu llawer ar hyny yn iachad llethiad y misglwyf. Mae llawer yn cadw eu hunain mor foethus a dim yn ysgwyd digon arnynt eu hunain, nes ydyw holl beiriannau y corff yn myned i ansawdd farwaidd; ac felly, ddim yn cyflawni eu priodol orchwyliaeth.

---

## ANWYD CYFFREDIN. *(COMMON COLD.)*

Hyn sydd yn unig ar y cyntaf yn llethiad, neu ataliad y chwysdarth; ond mynych mae y memrynau llysnafeddog yn cydymdeimlo, ac yn cael eu cynhyrfu, megys yr ysgyfaint, y ffroenau, gydag amrywiol anhwylderau, yn enwedig y parthau gwanaf yn y corff. Ac felly, mae anwyd cyffredin, fel yn achos cynhyrfiol o bob afiechyd ag y mae dyn yn ddarostyngedig iddynt. Mae llawer yn esgeuluso anwyd, gan feddwl nad oes dim llawer o berygl, yn dynoethi eu hunain i oerfel, ac felly yn cael ychydig yn ychwaneg, nes o'r diwedd, y bydd y 'tipyn bach' anwyd yn angeu iddynt.

Triniaeth.—Gan mae llethiad y chwysdarth yw y gwreiddiol achos o anwyd cyffredin, ac y mae yn sicr, nas gellir ei wellhau, heb symud yr achos. Y cam cyntaf, gan hyny ddyleu fod, yw ymdrechu adferu y chwysdarthiad. Bydded i'r goddefydd gael baddio ei draed mewn dwfr twym; wedi hyny, ei roddi yn ei wely; a rhodder deg gronyn o'r powdr chwysbarol iddo, ac yfed yn helaeth o dê *catnip*, neu *pennyroyal*,

neu *chamomile*, neu y *blessed thistle*, neu un math o lysieuau sydd a thuedd chwysu ynddynt. Os na bydd y dogn cyntaf o'r powdr chwysbarol, yn cynnyrchu chwys, gellir rhoddi dogn bob tair, neu bedair awr, hyd oni byddo chwysdarthiad helaeth wedi cymeryd lle. Mae weithiau, yn ofynol gweinyddu cyfogbair ar y dechreu, pan fyddo llawer o lysnafedd gwydn wedi magu yn yr ysgyfaint. Yn enwedig plant ieuangc, nis gallant godi y *phlegm*. Mae yn aml yn ofynol cadw allan chwysdarthiad dros amryw ddyddiau; ond gofaler am fod yn gymmedrol yn hyny, o herwydd mai fel yr arferir gynnyrchu chwys helaeth, hyd oni byddo y goddefydd mewn boddfa o chwys, yn beth afresymol; y mae yn ddigon cadw y croen yn wlyddaidd. Bydd yn ofynol gweinyddu carthbair, yn ngyfnod ychydig oriau, wedi dechreu ar y driniaeth flaenorol.

Mae anwyd yn hawdd i'w wellhau ar y dechreu, ond wedi iddo unwaith sefydlu ar ryw beiriant, neu beiriannau, mae yn fynych yn profi yn hynod o ystyfnig. Gan hyny, mae yn ddoethineb bob amser, fod yn ofalus, hyd yn nod o dan yr ymosodiad tyneraf. Os bydd llawer o beswch, a hyny yn dýn, a'r ysgyfaint yn gaethiwus, cymerer un owns o *squills;* un owns o *seneca snake root;* berwer am ddeng mynyd mewn un peint o ddwfr, wedi hyny meluser gyda mêl—-dogn, llonaid llwy fwrdd dair gwaith y dydd. Os canfyddir, wedi cymeryd y cyffeiriau blaenorol, fod y peswch yn flinderog, ag ddim yn codi llawer o *phlegm*, a'r ysgyfaint heb fod yn teimlo yn gaethiwus, a'r peswch fel yn cael ei achosi gan oglais yn mhibellau yr ysgyfaint, bydd yn ofynol cymeryd y moddion canlynol: Melysnodd wedi ei wneuthur o *black chery bark*, dwy owns; *tincture blood root*, hanner owns; *wine of ipecacuanha*, hanner owns; *wine of antimony*, hanner owns; *sulphate of mor-*

*phine*, dau ronyn; cymysger oll yn nghyd; dogn, llonaid llwy dê, dair neu bedair gwaith y dydd; yn enwedig amser gwely.

---

## GWDDFGAEHTIAD. *(CROUP.)*

Hyn sydd effeithiad yn chwibol yr anadl, a'r chwibolau gyddfol. Plant a oddiweddir ganddo fynychaf.

Arwyddion.—Mae yn fynych yn dechreu yn ddisymwth gyda pheswch gwynegol—anhawsder i anadlu. Mae i'r llais a'r peswch sŵn tonciadol, neu efyddaidd; ac y mae yn fynych, yn gydfynedol a'r anadliad, dwrf seinfawr, cyffelyb i ganiad ceiliog. Weithiau, mae yn ymosod ar y goddefydd yn raddol, gydag amrywiol arwyddion rhagrybuddiol, megys syrthni—anynadrwydd —y llygaid yn drymaidd a dyfrllyd—graddau o beswch uchelsain. Mae yn achlysurol yn cyfodi yn ngyfnod y frech goch a'r dwymyn ysgarlad.

Ffafriol.---Enciliad yr enynfa—yr anadl yn dyfod yn esmwythach—peswchboeraidd rhwydd o'r gwddf, a chodi y memrwn sydd arferedig o ffurfio yn y gwddf.

Anffafriol.—-Anhawsder mawr i anadlu—anesmwythder dirfawr—-twymyn angerddol—-mynych a blinderog beswch—gwall peswchboeriad--gwedd ddulas —gwaedgur gwan ac anrheolaidd.

Achosion.—Dynoethiad i oerfel. Y mwyaf digyfrwng achos yw enyniad yn chwibol yr anadl a'r canghenau—deigyniad, neu ddidoliad allan ddyfr-naws fel canlyniad o hyny, pa un sydd yn hulio ac yn ffurfio memrwn gau, yr hyn sydd yn llenwi y chwibol, ac felly yn achosi y mygfa. Y sylwedd rhwystrol yma yw y peth mwyaf nodedig yn yr anhwyldeb hyn.

Triniaeth.—Rhaid arfer moddion effeithiol yn ddi-

oed, i'r dyben o leddfu cynnyddol weithrediad sydd yn y memrwn llysnafeddog, chwibol yr anadl, a'r cangenau. I gyflawni hyny, mae yn ofynol baddio y traed mewn dwfr a *ley* twym. Wedi hyny, rhodder y cyfogbair cyfansawdd, sef *ipecacuanha*, *blood root*, a *lobelia*, wedi ei wneuthur yn ol y cyfarwyddid—dogn hanner llonaid llwy dê bob dauddeg mynyd i blentyn blwydd oed, hyd oni chymero gyfogiad arafaidd a thyner le. Mae hyn yn effeithio gyda neillduol effaith ar chwibol yr anadl, ac yn gwahanu, a symyd, tywalltiad y dyfrnaws sydd yn crynhoi yno; a thrwy hyny, mae yr anadliad yn dyfod yn rhwydd ag esmwyth, a'r holl arwyddion yn ffafriol. Mae yn ofynol mynychu y cyfogbair yn achlysurol, neu mor fynych ag y byddo yr arwyddion, neu yr ymgyrch poenus yn dychwelyd. Gellir rhoddi carthbair ar ol i effeith y cyfogbair fyned drosodd; a mynychu hyny hyd oni bydd yr arwyddion twymynaidd wedi lleddfu. Os bydd anhawsder mawr i godi y *phlegm*, rhodder y poerbair canlynol:—*seneca snake root*, a *sqnills*, pedair owns o bob un; dwfr, tri pheint; berwer i lawr i'r hanner, a rhodder ynddo ddwy owns o *tincture lobelia*, ag un pwys o fêl da. Gellir rhoddi llonaid llwy dê gyffredin o hono i blentyn blwydd, bob tro y byddo y caethiwed yn flinderog, neu bedair neu bump o weithiau y dydd; yn enwedig os bydd y llysnafedd yn wydn. Mae y cyfferi hyn yn effeithio fel poerbair; ac hefyd yn lláchau. Bydd yn ofynol baddio y gwddf a chledr y ddwyfron yn aml a rhyw enaint. Mae y *tincture* gormwythol yn dda a phriodol. Rhodder yn achlysurol, hanner gronyn o *ipecacuanha*, i'r dyben o gadw tueddiad i'r croen; yn enwedig os bydd yn boeth a sychlyd; gellir rhoddi hyny bob dwy neu dair awr, gan faddio y traed ddwy neu dair gwaith y dydd. Mae llawer o feddygon yn arfer gwaedu yn y gwddfgaethiad; ond y mae y meddygon

enwocaf yn erbyn hyny. Medd Dr. Mc Nair—" Cefais yr aflwyddiant o golli brawd a chwaer o'r gwddfgaethiad. Yr oedd y meddyg enwocaf yn nhalaeth Maryland, yn gweini iddynt, a chawsant eu gwaedu ar eu breichiau cyhyd ag y parhaodd y gwaed i redeg. Wedi hyny agorwyd y wythen fwyaf yn y gwddf, heb un math o ddefnyddiioldeb. Yr ydwyf yn crybwyll am hyn er mwyn dangos y gwagymhoniaeth *(quackery)* sydd o dan arddull gwyddoniaeth.'

Dymunwn argyhoeddi pawb o'r drwg sydd yn deilliaw trwy oedi moddion cyfaddas mewn pryd. Mae yn anhawdd anarferol, gwellau yr anhwyldeb wedi iddo unwaith sefydlu am hir amser; a pheidio, er mwyn einioes y plentyn diniwaid, wneuthur cyngor pob hen wrach hunan-ymhongar; nid yw ddim gwahaniaeth pa mor ddengar y byddont yn ymddangos! mae mwy o berygl ynddynt nag yn y gwddfgaethiad ei hun.

---

## GWENWYN MWNAIDD. *(MINERAL POISONS.)*

*ARSENIC.* ARWYDDION.—Brathiadau a theimlad llosgadwy yn y cylla—poen disymwth ac arteithiol yn y coluddion—cyfogiad angerddol—archwaeth chwiblaidd yn y genau—y gwddf a'r tafod yn graslyd—trwmfrydedd ac anesmwythder—gwres a phoen yn mharth y cylla—ymgarth dû a ffiaidd—gwaedgur bychan—anhawsder i anadlu—llamiadau anrheolaidd y galon—gorphwyllder—-dirdyniadau cyffelyb i'r llysmeirglwyf. Mae arweiniad mwy graddol o hono i'r cyfansoddiad, neu ychydig ar unwaith, yn cynnyrchu enyniad yn y cylla—chwydd ac anystwythder yn yr amrantau—ysfa yn y croen—archollion yn nghig y dannedd—cur yn y

pen; wedi hyny bydd gweithrediad y manwythenau yn atal, gwedd welw, yn nghyd â gwendid cyffredinol.

ACHOSION.—Gwenwyn llygod yn cael ei gymeryd yn ddamweiniol—diofalwch cyfferiwyr, &c. Hefyd, y mae rhai medddygon yn ei arferyd; megys y *fowler solution; India cholagouge;* rhwd arian Ellmynaidd; bwriadau cenfigenllyd hunanleiddiad, &c. Pan fyddo ammheuath fod y tranciedig wedi marw o achos gwenwyn, bydd yn foddlonrwydd, heblaw bod yn ddyledswydd arbenig, gael sicrywdd pa un a'i gwenwyn ynteu rhyw beth arall, oedd achos marwolaeth y cyfryw. Gellir gwneyd prawf o hyny wrth y rheolau canlynol:—

PRAWF.—*Arsenic*, pan ei rhoddir ar olosg-goed, fydd a mygdarth yn arogli fel garlleg. Y powdr, neu wlybwr sylwedd ammheus o'r cylla, neu ryw fan arall, a ellir ei adferyd i'w ddull metelaidd, fel y canlyn:—cymysger gyda rhan gyfartal o olosg-goed a *potash;* rhodder mewn pîb wydr ac un pen yn agored, a bydded i'r pen agored gael ei gau yn llàc, a dynoether y pen caued ig i boethder graddol. Yr *arsenic* a gyfyd ag a arwisga y pen uchaf, gydag amwisg dysglear. Neu, rhodder y sylwedd ammheuol mewn dwfr a *solution of perlash;* wedi iddo sefyll awr, neu ddwy, rhodder ato ddwfr a *blue vitrol;* hyny a gynnyrcha drwyth gwyrddloyw a gwaelodion ynddo.

TRINIAETH.—Yn y lle cyntaf rhodder cyfogbair cyflym a nerthol rhagllaw; gan wneuthur pob ymdrech i gynnyrchu cyfogiad. Yfer hefyd yn helaeth o lefrith, grual, a dyferwad o sythai. Y gwrthwenwyn cryfaf i *arsenic*, yw *hydrated sesquioxide of iron*, yn ddognau mawrion. Mae *magnesia* wedi cael ei brofi, yn ddiweddar, yn wrthwenwyn cryf i *arsenic;* mae yn ofynol rhoddi digon fel byddo yn effeithio fel carthbair; bydd hyny nid yn unig yn dieffeithio y gwenwyn yn y cylla a'r coluddion, ond hefyd, bydd yn ei gludo ymaith.

## CYFFERFWN. *(ANTIMONY.)*

Arwyddion.——Cyfogiad angerddol ac ystyfnig—arllwysiad helaeth o'r coluddion——crebychiad yn y gwddf—cramp—teimlad meddwol, neu bensyfrdandod—llwyr ymgrymiad y nerth; ag arwyddion ereill perthynol i wenwyn ysol—dirdyniadau a marwolaeth.

Achosion.—Cymeryd gormodedd o *tartar emetic*, *James' powder*, *antimony wine*, *&c.* Mae llawer o gyfarwyddiadau meddygol yn cynnwys *antimony*, mewn gwahanol ddulliau.

Prawf.—*Sulphuric acid*, neu ddwfr calch, wrth eu rhoddi mewn trwyth o *tartarate of antimony*, sydd yn achosi gwaelodion gwyn. Mwydo *nut galls* mewn dwfr a'i roddi ynddo a gynnyrcha waelodion melyn-wyn.

Yr holl ddarpariadau o *antimony*, a ddychwelir yn rhwydd i'w dull metelaidd, trwy ymlosgiad gyda golosg-goed a *potash*. Pan fydd yn angenrheidiol profi sylwedd o'r cylla, rhaid iddo gael ei ddadlu gyda chyfran o *muriatic* a *tartaric acid*, yn drwyadl; wedi hyny ei hidlio cyn gwneuthur prawf o hono.

Triniaeth.—Yn gyntaf, ymdrechu gwaghau y cylla yn gyflawn, a dieffeithio y gwenwyn. Weithiau, bydd yn ofynol anog cyfogiad, trwy oglais neu gynhyrfu y cwr pellaf y safn; neu ddefnyddio y sugnedydd cyllâol *(stomach pump.)* Yfer hefyd yn helaeth o ddyferwad *nut gall*, neu *peruvian bark*, neu *tincture* yr unrhyw, neu *green tea* yn nghyd â chymhellyddion tufewnol ac allanol.

## EFYDD. *(COPPER.)*

Arwyddion.—Archwaeth lymsur yn y genau—y tafod yn graslyd—crybychiad yn y gwddf—cyfogiad dirfawr, neu aneffeithiol ymgais i gyfogi—teimlad llusgiadol yn y cylla—cnofa erchyll—ymgarthiadau gwaedlyd—yr ymysgaroedd yn chwyddedig—gwaedgur bychan a chyflym—llewygfeydd—syched mawr—chwys oerllyd—yn nghyd â dirdyniadau a marwolaeth.

Achosion.—Cymeryd *blue vitrol--verdigris*--ymborth wedi ei arlwyo mewn llestri efydd—cyffeithiau *(pickles)* wedi eu lliwio gydag efydd, yn wyrddion—yspigod efydd mewn celyrnau osau, neu gwrw, a gwin.

Prawf.—Halen efydd *(salts of copper,)* sydd fynychaf o liw gwyrdd disglaer, neu lâs, ac a ellir yn rhwydd ei ddychwelyd i'w ddull metelaidd, gyda golosg-goed o boethder uchel. *Ammonia* yn fesur digonol, a dry drwyth efydd yn lâs.

Triniaeth.—Gweinydder cyfogbeiriau a chwistrellau yn ddylynol, gyda llwnciadau mawrion o ddwfr, â gwyn ŵy ynddo, wedi ei felysu yn dda. Os bydd yr aelodau yn oerion, bydded iddynt gael eu rhwbio gyda gwinegr, wedi berwi *cayenne pepper* ynddo.

---

## PLWM. *(LEAD.)*

Arwyddion.—Pan gymerir yn fesurau mawrion, bydd yn achosi archwaeth fetelaidd, felus, a dirglymol, ar y genau—crebychiad yn y gwddf—poen yn mharth y cylla—cyfogiad gwaedlyd, a phoenus—yr eigian—dirdyniadau a marwolaeth. Pan gymerir bob yn ychydig, mae yn cynnyrchu nychiant, y coluddwst, *painter's colic*, a'r parlys.

Achosion.—Cymeryd *sugar of lead*—gweinyddiad o hono i atal gwaedlif—*diaculum*, neu *lead plaster*—*white lead* yn cael ei roddi ar gnawd noeth, neu ddoluriau—paentio â *white lead*—dwfr yn rhedeg trwy bibellau plwm—gwin wedi ei felysu gyda phlwm—gwydriad, neu *varnish* ar lestri priddion.

Prawf.—Pob darpariadau o blwm, a ellir yn rhwydd eu dychwelyd i'w dull metelaidd gyda gwres—*sugar of lead* sydd ag archwaeth lym-felus arno. I wneyd prawf o win wedi ei halogi â phlwm, cymysger rhan gyfartal o galch a *sulphur*, dynoether hwynt i boethder gwynias mewn tawddlestr cauedig, cymerer undeg-chwech gronyn o hono, â dauddeg gronyn o *cream of tartar*, rhodder mewn potel fechan, llanwer â dwfr, a chadwer hi yn dŷn-gauedig. Wrth roddi ychydig o'r gwlybwr yma mewn gwin a fyddo yn cynnwys plwm, cynnyrcha waelodion yn cynnwys plwm.

Triniaeth.—Pan fyddo un wedi cymeryd plwm, y dyben yw, dadgyfansoddi y gwenwyn, a hylwyddo ei ymadawiad o'r cylla rhagblaen. Gweinydder dwfr claear ag ychydig o *sulphate of zinc*, neu *ipecacuanha* ynddo, hyd oni byddo cyfogiad helaeth wedi cymeryd lle. Dilyner hyny ag *epsom salts*, yn ddognau llawn. Annoger parhad y cyfogiad, hyd oni byddo sicrwydd fod y cylla yn lân oddiwrtho. Os plwm coch fydd y gwenwyn, bydd yn ofynol rhoddi *oil of almonds*, neu *oil olive*, yn ddognau lled fawr.

---

## ARIAN BYW. *(MERCURY.)*

Arwyddion.—Wedi cymeryd *corosive sublimate*, bydd archwaeth lymsur a metelaidd yn y genau—syched—llawnder llosgadwy yn y gwddf—poen yn y cylla,

a'r ymysgaroedd—cyfogi yn fynych waed—tostedd neu lethiad y lleisw—gwaedgur cyflym, bychan, a chaled—llewygon a chramp—anhawsder i anadlu—chwys oer a marwolaeth. Pan mae yn effeithio ar y cyfansoddiad yn raddol, fe allai, na bydd i'r arwyddion blaenorol ymddangos yn gyflawn, ond byddant yn wahanol, megys poerlifiant, cig y dannedd yn ysu i ffordd, a'r cnawd oddiar y gwyneb. Darpariadau eraill o arian byw sydd iddynt gyffelyb effaith; y mae *calomel* yn fwy tyner ond y mae yn cynnyrchu ymgarthiad—poerlifiant—pydrni yn yr esgyrn—doluriau yn yr afu—nychdod cyffredinol—*hypochandria*, a nifer o anhwylderau eraill.

ACHOSION.—*Carosive sublimate—calomel—red precipitate*—mirgochliw (*vermillion paint*)—llethenau (*wafers*) wedi eu lliwio gyda mirgochliw, yn nghyd ag amrywiol bethau wedi eu gwynu gydag arian byw.

PRAWF.—Y mae gwres yn hedino (*volatalize*,) yn rhwydd, ac yn dychwelyd pob darpariadau o arian byw i'w ddull metelaidd.

*Doluriau Arian Byw*. Mae llawer o feddygon, yn addef er mor ddirmygus yw, ag sydd wedi gweinyddu pwysi o arian byw, ac eto yn barod i aberthu eu bywydau drosto o fawr sêl, yn cyfaddef fod anhwylderau a achosir yn uniongyrchol gan arian byw, megys gweliau yn y genau (*mercurial ulcers in the mouth*,) a adnabyddir wrth ddoluriau mawrion, o liw tywyll yn y safn—arogl erchyll ar yr anadl—y dannedd yn rhyddion, ac archwaeth fel ar efydd. Mae doluriau arian byw yn tebygoli i'r anlladwst (*syphillis*,) a dywed un awdwr, fod yr hyn a achosir gan arian byw, 'Yn bresenol yn ddolur cyffredin, ac yn fynych yn cael ei gymysgu gan feddygon gyda yr anlladwst.'

*Mercurial Erysipelas*, nodweddedig gan wrês, cochni a garwder, sydd arferol o ddechreu un ai ar yr achfen (*groin*,) oddifewn y cluniau, neu yn nghamder y breich-

iau, ac yn lledaenu dros yr holl gorff, yn gydfynedol â chwydd dolurus, ysfa erchyll, a garwder. Mae fel yn dechreu, neu yn cael ei achosi, gan linorod bychain, pa rai sydd yn tori ac yn ysu y croen, nes byddo y goddefydd agos yn gignoeth o wadn ei droed i goryn y pen, ac yn fynych, yn achosi y gwallt i gael ei fwrw ymaith.

'*Mercurial Erethismus*, nodweddadwy gan oriseliad y nerth—teimlad o anesmwythder o amgylch y ddwyfron—mynych ocheneidio—gwaedgur crynedig, cyflym, a weithiau dyspeidiol—gwedd lwyd, grebychlyd, a theimlad oeraidd.' *Hooper, M. D.* Poerlifiant, ag y mae rhai meddygon yn ei gynnyrchu yn fwriadol, adnabyddus trwy ormodedd lifiant o boeredd o'r genau—doluriau yn nghig y dannedd, pa rai yn fynych a syrthiant ymaith—gwrthwynebol, a neillduol arogl ar yr anadl. Mae hyn yn arddangosiad o'r dull y mae natur yn ymlid y gwenwyn o'r cyfansoddiad, ag onidê, byddai yn sicr o wenwyno y goddefydd. Byddai yn drugaredd i'r hil ddynol, pe byddai y fath wenwyn ysol wedi ei drosglwyddo o'r byd; ond y mae yn ddiamheuol na dderfydd yr arferiad o hono yn llwyr amser maith eto, o herwydd mae rhai meddygon a chymaint o sêl drosto ag oedd gan yr Ephesiaid dros eu Diana. Ond mae yn hyfrydwch meddwl, fod cannoedd o feddygon cydwybodol yn ei wrthod, ac yn dychrynu wrth feddwl am y dinystr a wnaethant, a'u bod wedi ymbalfalu yn y tywyllwch cyhyd o amser. Yr oedd y rhan fwyaf o feddygon er ys hanner canrif yn ol, yn meddwl nad oedd yn ddichonadwy gwellâu yr anlladwst heb arfer *mercury*. Ond mae y nifer fwyaf o honynt yn bresenol, yn benderfynol fod yn hawddach ei wellâu cyn y gweinydder *mercury*, nag yw wedi ei weinyddu. Gwel *London Lancet*, tudalen 140, Cyf. v. 1847.

Mae un awdwr Americanaidd yn ysgrifenu fel y canlyn, mewn perthynas i arferyd gormodedd o *mercury:*

'Mrs. Judge N——, oedd wedi bod am undeg-pump o flynyddoedd o dan driniaeth feddygol, o achos afiechyd yn sylwedd gieuog asgwrn y cefn (*spinal disease*,) ac o achos ennyniad y llygaid wyth neu naw mlynedd o'r amser hyn; yr oedd wedi ei chaethiwo i'w gwely, neu ei hystafell; weithiau yn analluog i lefaru. Yr oedd wedi myned trwy yr holl driniaeth arferol; sef crafnidaeth (*cupping*,)—poethelliad—*setons*, *&c.;* ac yn ol ei thystiolaeth ei hun, yr oedd wedi cymeryd peleni gleision (*blue pills*,) (*Mercury* yn un o'i agwedd waethaf) wrth y *peccaid.* Cawsom hi yn berffaith ddarlun o effeith arian byw—yn wan eithaf—y corff a'r aelodau yn chwyddedig—crawn-ddoluriau yn y gwddf—cig y dannedd mor adfeiledig nes oedd yr esgyrn yn noethion, sef yr *alveolar processes*—y genau a'r gwefysau o wawr dywyll neu lasgoch, ac yn orchuddiedig gan blorynod adwythig. Yn mhen oddeutu tair wythnos wedi dechreu gweinyddu meddyginiaethau i atal ymgyrch y gwenwyn, dechreuodd poerlifiant helaeth gymeryd lle; a bu am hir amser yn parhau i arllwys yn agos i beint y dydd; yr oedd llestr yn cael ei gadw yn wastadol wrth ei genau. Hyn a leihaodd y chwydd, a daeth yn deneu eithaf.'

Nid yw hon ond un o lawer o achosion a ddaeth o dan ein gofal, pa rai ag oedd eu cyfansoddiadau wedi eu anrheithio, a'r bywyd wedi ei wneuthur yn faich.

Triniaeth.—Y dyben cyntaf yw dadgyfansoddi y gwenwyn, a'i fwrw allan o'r cylla. Parhau i weinyddu dognau mawrion o wyn wyau; maent yn cynnwys *albumen;* mae hyny yn dadgyfansoddi *merucry.* Mae dyferwad cryf o *catechu* yn hynod o effeithiol er atal poerlifiant; yfer hefyd yn helaeth o lefrith, dwfr a blawd yn gwpaneidiau mawrion; mae hyny yn tueddu i ddadgyfansoddi y gwenwyn. Mae dwfr oddiar ludw onen wèn yn dda i atal poerlifiant gormodol. Bydd yn

ofynol, pan ganfyddir fod *mercury* yn effeithio a'r y cyfansoddiad, roddi y melysnodd *sarsaparilla*, ac un dram o *iodide patasse* yn mhob peint o hono—dogn llonaid llwy fwrdd dair gwaith y dydd. Mae pob darpariadau o haiarn yn dda i ddileu effeith *mercury* o'r cyfansoddiad yn enwedig *ferri iodide*.

---

## GWYGHAL. (*SALT PETRE—NITRATE OF POTASH.*)

Arwyddion.—Dwfr poeth—-arloesygiad—cyfogiad poenus—dirdyniadau—llewygon—poen yn y cylla a'r ymysgaroedd---anhawsder i anadlu—teimlad meddwol, a marwolaeth.

Achosion.—Cymeryd salt petre yn ddamweiniol yn lle *salts*—a'r niweidol arferiad o'i roddi gyda chig ag ymenyn, gan feddwl eu diogelu. Mae *Professor Rafinesque* yn beio yr arferiad yma yn angyffredin. Dywed *Thomson* nad oes un mŵn yn cynnyrchu effaith mor oer ar y corff, nag yr un yn llawer mwy anhawdd i'w ddiwreiddio.

Prawf.—Salt petre wrth ei roddi ar farwor tanllyd, a lysg yn fflam felen, rhwybeth yn debig i bylor. Mae yn cyfnewid glasliw llysieu yn wyrdd.

Triniaeth.—Mae yn ofynol dadgyfansoddi y gwenwyn, a'i fwrw allan o'r cylla. Wedi hyny, gweinydder dognau mawrion o *oil almonds*, neu *oil olive*, a diodydd llysnafeddog, hyd oni byddo y sylwedd fydd yn cael ei fwrw o'r cylla yn peido dangos priodoledd *alkaline*. Cymhwyser brydaniaeth yn allanol, ac yn mhen ychydig oriau, rhodder cymhellyddion (*stimulants*) yn dufewnol.

## GWENWYN LLYSIEUOL. *(VEGATABLE POISONS.)*

Mae nifer luosog o lysieu cysbair (*narcotic*) ac anfoddog *(iritant.)* Fel yn y dosbarth yn gyntaf, mae *opium*—cegid gwenwynllyd—bysedd cochion—*laurel*—ffwgws—llewyg yr iâr (*henbane.*) Hefyd megys yn yr ail ddosbarth, mae eiddew---*sumac* gwenwynllyd—*parsnip* gwylltion—*skoke*—cawsllyffaint, &c.

Prawf.—Planigion ag sydd bump briger (*stamens,*) [mân wallt, neu linynau y blodeuyn] yn amgylchynu y bragur (*germin,*) neu godau yr hâd, ac un paladr o liw dwl, cethin, ac arogl annymynol, sydd yn arferol o fod yn wenwynllyd. Y bogeiliawl (*umbiliferous,*) ag iddynt sypynau o flodau, ar bledr yn lled wyro o'r un man, fel asenau cysgodawr (*umbrella,*) a phlanigion sydd yn tyfu mewn llefydd gwlybion, sydd yn gyffredin ag iddynt arogl gwrthwynebus, sydd y rhan fwyf, yn wenwynllyd megys cegid y dwfr, &c.

Y gwefusol (*labiate,*) ag iddynt flodau o'r un ffurf a phîb, a phen agored. Planigion yn cynnwys eu hâd mewn cist, megys y bysedd cochion, y rhan fwyaf ydynt wenwynllyd. Hefyd, rhai ag sydd yn cynnwys nodd llaethog, oddieithr bod eu blodau yn gyfansoddedig o lawer o flodau bychain, megys dant y llew (*dandelion.*) Y cyfryw hefyd ag sydd gorniog, neu a phenguwch erinawg, a pheirianau yn cynnwys mêl, yn gyffredin, ydynt wenwynllyd.

Dyleu fod mwy o ymdrech i astudio natur planigion, ac alltudio y cyfryw ag sydd wenwynllyd o'r buarthau, a'r heolydd, gallau hyny fod yn achos i gadw llawer o fywydau.

## CYSGLYN. *(OPIUM.)*

Arwyddion.—Pan gymerir *opium* yn ormodol, mae yn achos syfyrdanrwydd—-crynfa—-dirdyniadau—ag weithiau gyfogiad--cysgadrwydd--hurtrwydd--anadliad croch—parlys mud, a marwolaeth yn aml fydd yn terfynu yr olygfa. Yn ddognau bychain, mae yn cynnrchu annheimladrwydd—meddwdod—cwsg—cyhyrwst, ac amrywiol o effeithiau annilys. Mae *opium* yn un o'r cyffeiriau goreu, ond ei iawm arfer; mae yn rhoddi esmywthad yn fynych pan fyddo y boen yn ddirdynol; hefyd, mae iddo briodoledd chwysbarol. Ond yn y camarferiad o hono mae y drwg yn tarddu.

Triniaeth.—Gwaghaer y cylla mor fuan ag sydd bosibl, gyda y sugnedydd cyllaol, a gweinydder yn helaeth o ddwfr claear. Os na bydd cyfleustra, neu yn ddymunol arfer y sugnedydd, rhodder cyfogbair o *ipecacuanha*, neu *sulphate* o *zinc*. Wedi cyflawn waghau y cylla, rhodder suredd llysieuaidd, megys sug *lemon*, dwfr a gwinegr. Yn nghyfnod y driniaeth flaenorol cymhwyser dwfr oer at y pen, &c., ac mewn llawer o achosion, bydd yn ofynol rhoddi plastr o fwstard wrth y traed. A chofier, bob amser, ddeffroi y goddefydd pan fyddo yn syrthio i sefyllfa hunglwyfus. Bydd yn ofynol weithiau gynnyrchu anadliad dynwaredol. Mae yn beth o'r pwys mwyaf, gyda y cyfryw a fyddo dan effaith *opium*, gadw y traed yn dwym a'r pen yn oer. Rhaid mabwysiadu cyffelyb driniaeth gyda phob math o wenwyn cysgbair, neu hunglwyfus; ac y mae yr arwyddion yn gyffelyb.

## EIDDEW GWENWYNLLYD. *(POISON IVY.)*

Arwyddion.—Enyniad, chwydd a phoethder yn y parth a fu mewn cyffyrddiad, yn gydfynedol a tharddiadau ffyrnig.

Triniaeth.—Mae y *tincture lobelia* yn un o'r gwrthwenwyn goreu i'r eiddew gwenwynllyd. Baddier y parth effeithiedig ag ef nifer o weithiau, yn ngyfnod y dydd. hefyd, mae dwfr oddiar *sulphate of iron* yn dda i atal lledaeniad y gwenwyn. Ac os na fydd y pethau blaenorol yn gyfleus, cymhwyser y meddygolch canlynol—rhisgl ysgawen wedi ei ferwi mewn llaeth enwyn; golcher y parth yn dda gyda hyn bob dwy neu dair awr, wedi hyny eneinier a *sweet oil*. Yna rhodder sugaethen o *slippery elm* wrth y parth dolurus, gan newid hyny ddwy waith y dydd. Gall y goddefydd gymeryd achlysurol ddogn o *sweet oil.*

---

## BRATHIADAU GWENWYNIG. *(VENOMOUS BITES.)*

Arwyddion.—Poen—chwydd ac enynfa yn y parth brathedig, yn ymledaenu dros yr holl gorff—cyd-dyriad a malldod y gwaed—gwaedlifoedd—amrywiol anhwylderau yn cyfodi oddiar gynhyrfiad gieuol. Weithiau mae yr holl alluoedd bywydawl yn cael eu diswyddo yn ddisymwth, ac esmwyth.

Prawf.—Seirph ag sydd iddynt ysgythrau, neu ddannedd hir bochog yn yr ên uchaf, ydynt yn wenwynllyd; megys y neidr gyffondrwst, a'r neidr pen copr (*copper head.*) Y rhai hyny sydd iddynt resau o

ddannedd gwastad, ac yn cymeryd eu hysglyfaeth trwy nydd-droi oddiamgylch iddo, ydynt ddiwenwyn, megys y neidr ddû (*anaconda.*)

Triniaeth.—Mae llawer yn digwydd cael eu brathu gan nadrodd yn mhell oddiwrth gyfleusterau i gael moddion meddygol. Yn y fath amgylchiad mae sugno y parth archolledig a'r genau, yn tynu y gwenwyn ymaith yn llwyr, ac os bydd yr archoll fel nas gall y goddefydd eu hun ei gyrhaedd, bydded i berson arall ei sugno. Nid oes un perygl ond gofalu am boeri yn aml, os na bydd doluriau yn y genau, ac er hyny, nid oes fawr o berygl, o herwydd mae y gwenwyn mor wan, fel y gwna y peth lleiaf weithiau ei ddadgyfansoddi. Mae sugno archollion gwenwynllyd yn hen arferiad, ac yn hynod o effeithiol. Bydd yn ofynol golchi y genau yn lân wedi darfod. Rhodder wrth yr archoll, wedi hyny, sugaethen o flawd Indiaidd, wedi ei gymysgu a *ley* cryf oddiar ludw onen wèn, a golcher yr archoll bob tro wrth ei newid, gyda *spirit of ammonia*. Mae brathiadau yn hawddach eu gwellhau o'r dechreu nag y mae llawer yn meddwl; mae yn ymddangos fod llawer o oruchwyliaethau fferyllaidd yn ei ddadgyfansoddi, hyd yn nod halen cyffredin; hefyd, *lobelia* wedi ei ferwi mewn dwfr, a'i ddodi wrth y parth, sydd hynod o effeithiol. Mae crafnidio (*cupping*) yr archoll yn sugno y gwenwyn ymaith yn effeithiol. Bydd yn ofynol gweinyddu carthbair yn achlysurol, i'r dyben o gadw i lawr arwyddion twymynaidd.

---

## SUR A GWRTHSUR. *(ACID AND (ALKALINE.)*

Mae rhai yn ddamweiniol, neu yn fynych yn fwriadol,

yn cymeryd cyfran ddigonol o suredd i ddystrywio bywyd. Mae llawer math o suredd yn wenwyn difaol, megys y *prusic acid*, *nitric acid*, *&c*.

Triniaeth.—Os bydd person wedi cymeryd suryn (*acid*,) rhodder iddo *calcined magnesia*, *salaratus*, neu *ley* gwan, ac anoger cyfogiad trwy roddi *lobelia*, neu *ipcacuanha*. Mae yn ddeddf fferyllaidd, fod gwrthsur (*alkaline*) yn dadgyfansoddi suryn, ac y mae *magnesia*, *&c*., yn wrthsur. A phan fyddo un wedi cymeryd gwrthsur (*alkaline*,) mae yn ofynol cymeryd suredd (*acids*,) megys gwinegr, &c., a gwneuthur ymdrech i fwrw y gwrthsur o'r cylla.

---

## LLAETH-GLEFYD. *(MILK SICKNESS.)*

Arwyddion.—Gwendid—poen a dolur yn y coesau—salwch anhyfryd yn y cylla—gwendid a chrynfa wrth gerdded. Wedi ysbaid o amser, mae angerdd yr arwyddion yn cynnyddu, yn gydfynedol a chyfogiad—ymystwyro a theimlad llosgadwy yn y cylla—bolrwymedd ystyfnig—arogl neillduol o wrthwynebus ar yr anadl—twymyn ddyspeidiol—arddangosiad o ennyniad yr ymenydd, a marwolaeth.

Achosion.—Mae yr afiechyd yn bodoli mewn gwahnol barthau o'r Talaethau Gorllewinol; ac y mae yn cael ei achosi trwy fwyta cig—yfed llaeth—a bwyta ymenyn gwartheg a fwytânt ryw blanigion gwenwynllyd.

Triniaeth.—Yn gyntaf peth, rhodder cyfogbair nerthol, i'r dyben o waghau y cylla; a phan ddarfyddo effaith hyny, rhodder y carthbair *jalap* a *cream tarter*. Hefyd, bydded i'r goddefydd gael ei olchi, i gyd drosto,

â gwinegr wedi berwi *cayenne pepper* ynddo. Yn gyffredin mae yr afiechyd yma yn gofyn cyffelyb driniaeth a'r dwymyn geriaidd, oddigerth bod yn ofynol fod yn fwy gofalus am roddi cyfogbair ar y dechreu; ac yn gyffredin, mae yn gofyn ac yn goddef cymhellyddion. Mae tri neu bedwar gronyn o *cayenne pepper*, yn nghyd a hanner gronyn o *ipecacuanha*, yn ddogn, dair neu bedair gwaith y dydd, yn un o'r meddyginiaethau a brofwyd oreu erioed. Mae yn ofynol bod yn fanol hynod mewn perthynes i'r coluddion, eu cadw mewn ansawdd ddatodadwy, a gofalu fod y carthbair cyntaf yn cynnyrchu ymgarthiad helaeth; ac oni bydd y carthbair yn effeithio, bydd yn ofynol gweinyddu chwistrellau.

---

## Y GERIWST. *(CHOLERA MORBUS.)*

Arwyddion.—Nid oes ond ychydig o ragrybudd i'w gael yn gyffredin, cyn ymosodiad y Geriwst. Yn fwyaf cyffredin, mae yn dechreu gydag arloesygiad, a dirwasgiad yn y cylla—cnofeydd poenus yn yr ymysgaroedd, yn gydfynedol â gormodol gyfogiad, ac ymgarthiad—llwyr-grymiad y nerth—syched---ymgarthion o waed yn fynych---yr aelodau yn oerion---eigian dirfawr ---cramp yn y cylla a'r aelodau---llewygon---dirdyniadau, &c., pa rai ydynt arwyddion sydd yn arddangos fod y diwedd yn agosâu.

Achosion.---Mae yn yr anhwyldeb yma debygoliaeth a chyfathrach agos i wenwyno; nid yn unig yn ei gyfogiad, a'i ymgarthiad disymwth, ond y mae yn cael ei achosi trwy fwyta ffrwythau anaeddfed, a llysiau; trwy lynciadau mawrion o ddwfr oer weithiau; a phethau annghyfaddas ereill i'r cylla. Yn fynych, nid yw eu heffaith niweidiol yn dilyn am ddauddeg-pedwar, neu

bedwardeg-wyth o oriau. Hîn boeth sydd yn ffafriol i'w gynnyrchiad. Pob ymborth ag sydd yn dueddol o eplesu, neu fallu yn y cylla, megys cig moch brâs---bwydydd melysion---cucymerau, a phob math o lysiau gleision; hefyd, unrhyw beth a fyddo yn tueddu i luddias y chwysdarth, ac felly, trosglwyddo yr ymgarth hyny i'r coluddion. Yr achos cynhyrfiol uniongyrchol, yw gweithrediad cymhelliadol suryn (*acid*,) a ddidolir yn yr afu, neu a genhedlir yn y cylla a'r chwibol gosmeithiol (*alimentary canal*,) yr hwn sydd yn cynnyrchu cynhyrfiad yn y memrwn llysnafeddog y parthau hyny.

Triniaeth.---Yr arddangosiad o wellâd yn yr afechyd yma, yw dadgyfansoddi, neu ddinystrio y suryn, a llymder y geri pydrol. Y peth cyntaf i'w wneuthur, yn y Gerïwst, yw ymdrechu lleddfu cynhyrfiad y cylla, nid trwy gyffyriau ag sydd yn tueddu i gloi, neu ddal yr ymgarthion heintiol yn y gyfundrefn, ond trwy ddadgyfansoddi, neu wneuthur yn ddirym y goruchwyliaethau gwenwynig, pa rai sydd yn achos digyfrwng yr anhwyldeb. I wneuthur hyny, cymerer y moddion canlynol: *Rhubarb*, *saleratus*, *peppermint*, *cinnamon;* yr un faint o bob un, wedi eu malu; dwfr berwedig, hanner peint; a phan oero, hidler a melyser gyda siwgr gwyn, a rhodder ynddo ddwy lonaid llwy fwrdd o'r Brandy goreu; dogn, un, neu ddwy lonaid llwy fwrdd bob chwarter, neu hanner, neu bob dwy awr, yn ol yr arwyddion, neu gan amled ag y byddo cyfogiad ac ymgarthiad yn cymeryd lle. Pan fyddo yr arwyddion yn angerddol, gellir rhoddi undeg-pump, neu ddauddeg diferyn o *laudanum* yn mhob dogn, hyd oni byddo yr arwyddion angerddol wedi lleddfu. Bydd yn ofynol ar yr un pryd, arfer moddion allanol; cymerer *cayenne pepper*, llonaid llwy fwrdd; *brandy*, un peint; berwer am ychydig fynydau, a mwyder gwlanen ynddo, a chymhwyser at barth y cylla a'r ymysgaroedd; ac hef-

yd, at yr aelodau, yn enwedig os bydd cramp ynddynt. Mae twymolchiadau, megys hopys, *tansy*, *&c.*, yn hynod o dda, neu blastr o fwstard ar yr ymysgaroedd a'r cylla. Mae o'r pwysfawrogrwydd mwyaf, gadw yr aelodau yn dwym; rhodder costrelau â dwfr poeth, neu briddfeini poethion wrthynt, a'r ochrau. Mae weithiau yn ymddagos fod eisteddfod yr anhwyldeb fel yn mharth isaf y coluddion. Pan fyddo felly, rhodder y chwistrell ganlynol:— cymerer dwfr *slippery elm bark*, un peint; llefrith, hanner peint; *molasses*, hanner peint; *oil olive*, chwarter peint; *saleratus*, llonaid llwy dê; *laudanum*, llonaid llwy dê; cymysger a rhodder gymaint ag a fydd bosibl ar y tro, bob tair neu bedair awr. Mae hyny yn cynnyrchu esmwythad buan. Bydd yn ofynol ymatal rhoddi dim ymborth anhawdd ei dreulio i'r goddefydd; gall yfed tê crystyn, dwfr oddiar flawd *Indian corn* wedi ei grasu, ceirch, neu flawd ceirch wedi ei grasu. Mae y cynhyrfiad mor fawr, weithiau, yn y cylla, fel y mae pob peth yn cael ei daflu i fynu, yn enwedig yn y dechreu; yn yr amgylchiad hyny, gellir rhoddi pelen cymaint a physen o *opium;* ac os bydd y gyntaf yn cael ei gwrthod, rhodder un arall, yn mhen ychydig amser; a rhodder plastr o fwstard cryf ar barth y cylla. Mae hyny yn tueddu i gyfodi yr anfoddogiad o'r tu fewn i'r arwyneb.

---

## ARCHOLLION. *(CUTS.)*

Mae archollion yn cael eu rhanu yn ddau ddosbarth, fel y canlyn:—yn gyntaf, archollion toredig, neu y cyfryw a wnaethpwyd gydag offeryn miniog. Pan ddygwyddo archollion heb wahanu rhedweliau, neu wythenau mawrion, bydd yn angenrheidiol eu golchi a dwfr

oer, neu ychydig yn dwym, wedi hyny, cysylltu yr ymylau at eu gilydd mor agos ag fyddo dichonadwy a'u sicrhau yn y sefyllfa hyny gyda phlastr gludiog (*sticking plaster.*) Y cwbl fydd yn ofynol wneuthur wedi hyny, yw cadw y parth yn lân, trwy ei olchi gyda dwfr cynhes a sebon, un waith, neu ddwy, yn y dydd. Yn mhen tri, neu bedwar, diwrnod bydd yn ofynol tynu ymaith yr hen blastrau a rhoddi rhai newyddion, ac ymdrechu agoshau yr ymylau gymaint a fydd yn ddichonadwy. Os na fydd y gwaed yn atal, wedi cauad yr archoll, gellir taenellu ychydig o flawd gwenith, neu *slippery elm*, neu rwy foddion gwaed-ataliol. Os bydd ennyniad yn dilyn, rhodder sugaethen wrtho, a golcher oddiamgylch y briw a gwinegr ag ychydig o *gum myrrh* ynddo.

Pan fyddo rhedweli wedi tòri, mae y gwaed o liw ysgarlad dysglaer, ac yn ergydio allan yn gyfatebol i lamiadau y galon. Mae yn aml, yn ofynol cymeryd rhedweli i fynu, a rhoddi cwlwm arni. Ond yn flaenorol i'r ymgais hyny, mae yn ofynol gwneuthur ymdrech i atal y gwaed gyda moddion eraill. Yn gyntaf, trwy ystum, os bydd yr archoll ar y llaw, neu y fraich, coder uwch na yr pen; os ar y traed, neu y coesau, rhodder y goddefydd ar y llawr, a chyfoder ei draed ar gadair; os bydd ar y corff yn is na yr galon coder penau y cluniau yn uwch na yr pen; neu os bydd ar y corff yn uwch na yr galon, bydded i'r goddefydd eistedd yn unionsyth. Yr ymgais yn yr holl agweddau hyn, yw cael yr archoll mor uchel ag y byddo modd, uwchlaw ffynhonell y cylchrediad, sef y galon. Mae hyny yn atal y gwaed agos yn mhob achos. Y dull nesaf yw dirwasgiad (*compressing.*) Os bydd rhedweli fawr wedi tóri, ar y goes, neu y fraich, rhodder napcyn o gwmpas y parth uwchlaw yr archoll, a chwlwm arno yn lled làc, yna rhodder pren rhwng y napcyn a'r aelod, a bydded

iddo gael ei nydd-droi hyd oni atelir y gwaed. Os bydd yr archoll yn rhy uchel i fynu i hyny, gwasger yn dŷn a'r y gweryd (*groin*,) neu ben uchaf y rhedweli, os bydd ar y glun. Neu os bydd ar y fraich, gwasger i lawr ar yr asen gyntaf.

Gyda y moddion hyn, gall unrhyw berson achub bywyd goddefydd, trwy atal y gwaed hyd oni chyrchir llaw-feddyg; ac ychydig o wybodaeth yn mhellach, allai yn fynych, hebgor ei ddyfodiad yn hollol.

I gwlwm rhedweli, cymerer bach pigfain, (gellir darparu un o wiallen trwy flaenllymu un pen a'i gamu) neu efail (*forceps*,) o faintioli cyfaddas. Bydded i'r napcyn gael ei làchau, trwy ychydig o dröiadau ar y pren, a dengys ffrydiad y gwaed y lle mae y redweli. Yna cymerer gafael ynddi gyda y bach, neu yr efail, tyner allan, a bydded iddi gael ei chylymu gydag edef ddiliw, wedi ei chwyro. Y rhedweliau lleiaf a allant gael eu cau trwy eu nydd-droi. Mae yn ofynol, weithiau, pwytho archoll, am na ellir dal yr ymylau yn nghyd gyda phlastr. I gyflawni hyny, rhodder yn nghyd blygion digonol o edef wen sidan, neu edef lîn, torer yn ddarnau cyfaddas o hyd i ddyblu yn y nodwydd, ag i gwlwm yn rhwydd wedi cymeryd y pwythau. Yna, gydag un o honynt, a nodwydd gyffredin a etyb y dyben. Brather y nodwydd ychydig o bellder oddiwrth ymylau yr archoll, ac allan yr un bellder yr ochr arall; wedi hyny, torer pen yr edef fel byddo y nodwydd yn dyfod ymaith, a rhodder darn arall o'r edef ynddi, a rhodder pwyth arall, gan adael penau yr edef yn rhyddion hyd oni byddo cymaint o bwythau a fyddo angenrheidiol wedi eu rhoddi. Wedi hyny, bydded iddynt gael eu cylymu, gan wneuthur ymdrech i gael ymylau yr archoll yn nghyd yn wastad, a gofalu am fod y cylymau yr un ochr.

ARCHOLLION PIGDYLLOG. *(Punctured Wounds.)* Neu y cyfryw a wnaed gydag offerynau pigfain. Mae y rhai hyn yn fynych yn ymddangos o ychydig bwys, ond eto, maent yn aml yn achosi genau clöedig (*lock jaw*,) a chanlyniadau peryglus ereill. Rhaid i ansawdd y driniaeth fod yn tueddu i gadw ymaith ennyniad, ac i ymdrechu cael yr archoll i iachau o'r gwaelod.

TRINIAETH.—Pan fyddo y fath archoll yn tueddu i ennyniad, rhodder sugaethen dyner wrth yr archoll; a bydded i lain o liain wedi ei nydd-droi, a'i gwyro gada chwyr gwenyn, a gwneuthur un pen yn bigfain, a bydded i'r pen hyny gael ei arwain i mewn i'r archoll, a newid hwnw bob dydd. Os bydd arwyddion fod llawer o gynhyrfiad gieuaidd, a genau clöedig yn ymddangos, golcher y lle gyda gwfr oddiar ludw, a gweinydder y meddyginiaethau a gyfarwyddwyd yn yr anhwyldeb hyny.

ARCHOLLION RHWYGEDIG. *(Lacerated Wounds.)* Neu y fath a wnaethpwyd gyda phethau pŵl, megys bwledi, yn aml mae cyfran o'r parthau archolledig yn cael eu rhwygo ymaith, nid ydynt yn gyffredin yn gwaedu llawer. Y rhai hyn, yr un modd a phob math o archollion, raid gael eu glanhau yn lân oddiwrth bob math o sylweddau estronol, megys blew, gwallt, &c., ag sydd yn aml yn cael eu gwthio i archollion, a golcher ymaith y gwaed ceuledig, wedi hyny bydded i'r archollion gael eu rhoddi yn nghyd gyda phlastr gludiog. Os bydd y gwaed heb atal, taeneller ychydig o flawd gwenith, &c., neu yn lle hyny, golcher a dwfr argaeol, lled gryf, megys dwfr *sugar of lead*, yna gorchuddier â gwasgrwymyn gwlyb, a bydded i'r rhwymyn gael ei gadw yn wlyb am ysbaid o amser. Os bydd ennyniad yn dilyn, golcher a *tincture of myrrh* wedi ei gymysgu â dwfr oddiar ludw, a rhodder sugaethen wrtho.

Archollion y Cymalau a'r Gewynau. Mae y rhai hyn yn anhawdd eu trin, ac yn fynych, yn hynod o beryglus. Mae agoriad i geudwll y cymal, yn dueddol o ollwng allan ddwfr y cymal *(synovial fluid,)* mae hyny yn gwanhau ac yn difetha y cymal. I atal hyny, cadwer y toriad a'r i fynu, a rhwymer yn y fath fodd fel byddo yr archoll yn dyfod yn nghyd, a rhodder sugaethen wrtho ag ychydig o foddion argaeol yn gymysg, megys ychydig o bowdr *catechu*, *gum kino*, &c. Mae gwlybwr, fel dwfr y cymal wethiau yn rhedeg o archollion y gewynau (*tendons*,) mae hyny yn gofyn cyffelyb driniaeth.

Archollion ar y Pen. Mae y cyfryw archollion, yn fynych, yn hynod beryglus; nid yn unig oddiwrth y niweidiad, ond hefyd yn nhriniaeth y llaw feddyg. Dywed Dr. Beach, 'Gynt yr oedd yn ddefod arfer y *trephine*, hyd yn nod yn y niweidiau mwyaf dibwys; ond tybiwyf, fod hyny wedi lladd deg am un a wellaodd; ac nid ydwyf yn rhyfeddu fod Desault, yn ei ddyddiau diweddaf, wedi ymwrthod a gwasanaeth yr offeryn yn hollol; o herwydd yr effaith angeuol ag oedd yn dilyn yr arferiad o hono.' Y cwbl sydd ofynol i'w wneuthur, yn llawfeddygol, i doriad y siol, yw dyrchfu y gyfran fydd wedi gostwng, a thynu ymaith y rhanau fydd yn wahanedig, heblaw y driniaeth i'r dyben o leddfu yr ennyniad, a natur a gyflawna fwy o waith nac y mae y rhan fwyaf lluosog yn ei feddwl. Mae yn ddiamheuol y buasai miloedd o aelodau, a bywydau, a ddinystrwyd trwy driniaeth anghyfaddas, ac annaturiol, yn cael eu hachub, pe buasai triniaeth syml a naturiol yn cael ei mabwysiadu.

Ysigiadau. Mae y rhai hyn yn cael eu hachosi, gan godymau ac ergydion; mae y parthau ysigiadol o ymddangosiad dulas.

TRINIAETH.—Oni bydd yr arwyneb wedi tóri llawer golcher y fan gyda dwfr oddiar ludw, wedi hyny enneinier a *tincture of myrrh*. Neu, cymhwyser twymolchiadau at y parth, cynnwysedig o *wormwood*, *tansy*, *&c.*, wedi eu berwi mewn gwinegr, neu rhodder ychydig o *salt petre* mewn gwinegr. Mae dwfr oer yn hynod o effeithiol a'r y dechreu; gellir cymhwyso hyny gyda gwlaneni gwlybion. Yr athronddysg benaf, mewn trin pob math o niweidiau, ag sydd dueddol o ennynu, sydd gynnwysedig mewn cynnyrchu tarthiad y meiddwaed ymaith o'r parth. Mae hyny nid yn unig yn cludo ymaith y poethder, ond hefyd yn agoryd a thyneru y llestri, a thrwy hyny, yn dwyn yn mlaen iachad.

Mae llawer o lawfeddygon, er yn fedrus hynod gyd a'u hofferynau, yn ddiffygiol druenus yn yr oldriniaeth. Dywed Dr. Armstrong, meddyg enwog a phrofiadol yn Llundain, ag oedd wedi gweled amrywiol farwolaethau a achoswyd trwy anwybodaeth llawfeddygon mewn dynsoddiaeth. Yn ol ei eiriau ef ei hun. 'Nis medr llawfeddyg, oddiethr ei fod yn physygwr da, ddeall yr oldriniaeth pan fyddo ennyniad yn dygwydd. Llawfeddygon, pa rai nad ydynt ond yn unig yn cymeryd arolygfa allanol o'r corff, ydynt wrthrychau peryglus.'

Os bydd person wedi ysigo fel i'w hurtio, mabwysiader y driniaeth a gymeradwywyd o dan y pen Safaldod Bywhad.

---

## TORIAD A DADGYMALIAD ESGYRN. *(FRACTURES AND DISLOCATIONS.)*

Gellir adnabod toriad esgyrn, trwy ofid disymwth, ac anallu i symud y parth yn naturiol; hefyd wrth redeg y bys ar hyd yr asgwrn; ac weithiau, wrth fod yr ael-

od yn fyrach; ond yr arwydd mwyaf amlwg yw, rhathelliad penau yr asgwrn, pan symuder y gwahanol barthau. Mae yn ofynol bod yn ofalus, beidio cymeryd y clindarddach dwrf, sydd weithiau yn dygwydd mewn dadgymaliad yn achlysurol, o achos fod dwfr y cymal yn rhedeg ymaith i'r parthau amgylchiadol.

Adgyflead toriad, neu ddadgymaliad asgwrn, sydd yn orchwyl hawdd, oni byddai cwtogiad y cyhyrau, pa rai sydd yn cynal y parthau yn gadarn yn ei sefyllfa naturiol. Y cwtogiad hyn, amser yn ol, oedd yn cael ei laesu, (ac eto gan rai fel y mae gwaethaf) trwy dynu yn fynych, yn gofyn nerth nifer o ddynion cryfion, ag hyd yn nod chwerfan *(pulley.)* Ond yn bresenol, mae y meddygon enwocaf, yn mabwysiadu moddion mwy effeithiol, a mwy unol a chelfyddyd. Mae yn gynwysedig mewn amwisgo y parth niweidiol a phlygion o wlanen, neu rywbeth cyffelyb, a thywallter arno ddwfr twym, hyd oni byddo y cyhyrau wedi llaesu; ac yn y cyfamser, gweinyddu yn dufewnol *lobelia*, neu *ipecacuanha*, ddigon i gynnyrchu arloesygiad trwyadl. Y moddion hyn, sydd yn llàchau y corff yn gyffredinol, fel y gall person cyffredin, os bydd yn feddianol ar ddealldwriaeth gyffredin, adgyfleu toriad gyda rhwyddineb.

Os na fydd yr esgyrn wedi llithro heibio eu gilydd, neu y cwtogiad yn gryf, gellir hebgor arfer moddion lláchaol.

Toriad asgwrn y Glun a'r Fraich. Hyn sydd yn gofyn cafn, neu wain onglog, neu yntau ddelltenau, a'r ongliadau i gyd-ymateb a phen y lin, neu y penelin. Gellir eu gwneuthur o goed, alcan, neu gludfwrdd *(pasteboard,)* a'u gwrthleinio oddifewn â gobenyddiau o garth, neu gotwm, a'u rhywmo gyda rhwymynau culion, yn y fath agwedd ac y byddont yn sicrhau symud-

iad unwedd y ddau gyfran o'r aelod. Cynnalier y fraich mewn cynnalrwymyn *(sling,)* a'r glun ar obenydd.

Toriad y Goes a'r rhan isaf o'r Fraich. Hyn sydd yn gofyn delltenau o goed, neu gludfwrdd; weithiau, mae yn ofynol rhoddi cyfran o'r rhwymyn o dan y delltenau.

Toriad asgwrn yr En. Mae yn ofynol rhoddi gobenydd yn nghongl yr ên, a rhwymyn yn ei gynnal dros y pen. Rhaid sugno yr ymborth trwy y dannedd.

Toriad trybedd yr Ysgwydd. Hyn sydd yn gofyn gobenydd yn ngheudwll y fraich, neu tan y gesail, a rhwymyn oddiamgylch iddo draws yr ysgwydd arall. Bydd yn ofynol cadw y fraich mewn cynnalrwymyn. Mae rhoddi plastr gludiog wrth doriadau, weithiau, yn fanteisiol. Gellir gwlychu y rhwymynau, a'r gobenyddiau, yn achlysurol, a *tincture of myrrh*, neu *alcohol;* gofaler na byddo y rhwymynau yn rhy dynion.

Yr oll a all celfyddyd wneuthur tuag at aduniad asgwrn toredig, yw ei osod yn gyflawn wastad yn ei le cyntefig, ei gadw yn llonydd ag esmwyth, a lliniaru, neu leddfu ennyniad, os bydd yn ormodol. Mae rhwymo y parth toredig yn rhy dŷn, yn hynod o niweidiol; yn y dull hyny, weithiau, mae celfyddyd yn gwneuthur drwg. Medd Dr. Beach, 'Yn wir, toriadau a allant gael eu trin heb wneuthur defnydd o ddelltenau a rhwymynau.'

Dadgymaliad. Gellir adnabod dadgymaliad wrth anffyrfiad y cymal wrth ei gydmaru a'r llall, wrth fod

yr aelod yn hwy, neu yn fyrach nac arferol—wrth y boen ac analluogrwydd i'w symud, yn enwedig, rhyw ffordd neillduol.

Dadgymaliad yr Ysgwydd. Hwn yw y mwyaf cyffredin, a gellir ei gyfleu i'w le yn rhwydd. Adnabyddir wrth iseliad, neu bant yn mhen yr ysgwydd, ac analluogrwydd i symud y fraich. Pan fyddo dadgymaliad tuag i waered, bydd y fraich yn hŵy, a chanfyddir clap yn ngheudwll yr ysgwydd. Pan fyddo wedi myned o'i lle yn ol, ymddengys chwydd, neu gnwc y tu ol i'r ysgwydd, a'r fraich a yrir yn mlaen, tuag at gledr y ddwyfron. Os bydd wedi bod o'i le am hir amser, neu y cyhyrau wedi cwtogi llawer, dylid llàchau hyny, yn ol y rheol a rhoddwyd gydag esgyrn toredig. Wedi hyny, plyger y penelin, a rhodder y dwrn chwith, neu bellen o edafedd, yn ngheudwll y fraich, a gafaeler yn y fraich y tu uchaf i'r penelin, a phwyser fel gyda gwif (*lever*,) hyd oni byddo pen yr asgwrn wedi myned i'w geudwll. Bydd yn ofynol cyfarwyddo cymaint ag sydd bosibl ar yr asgwrn gyda y bysedd.

Dadgymaliad yr En. Rhodder dau gorcyn rhwng y dannedd dwbl, a gwasger ar i fynu o dan yr ên.

Dadgymaliad y Forddwyd. Pan fyddo asgwrn y glun wedi myned o'i le yn mlaen, neu i lawr, y glun a'r traed a dry tuag allan, a'r aelod hyny a fydd yn hŵy na y llall. Ond pan êl o'i lle yn ol, yn gyffredin, mae pen yr asgwrn yn cael ei yru tuag i fynu, a thrwy hyny mae yr aelod yn fyrach, a'r traed yn troi i mewn. Pan fyddo asgwrn y glun wedi myned o'i le yn ol, gosoder y goddefydd ar ei gefn, ond os yn mlaen, gosoder ar ei wyneb. Wedi llàchau y cyhyrau, gymaint ag sydd yn

angenrheidiol, bydded i'r aelod gael ei thynu yn raddol, tra byddo un arall yn cyfarwyddo, gyda ei ddwylaw, yr asgwrn i'w geudwll. Gellir gosod yr holl symudiadau ereill yn rhwydd yn eu lle, wedi yn gyntaf làchau y cyhyrau, a chamu yr aelod gymaint a fyddo gyfleus, a symud yr aelod yn gyfarwydd wahanol ffyrdd, a chyda y llaw ddeau, tywys yr asgwrn i'w le. Yr egwyddor hyn sy wedi rhoddi y fath enwogrwydd i deulu Sweet, fel gosodwyr esgyrn. Yn y rhan fwyaf o achosion, ychydig o dyniad fydd yn angenrheidiol, a'r asgwrn a lithra i'w le yn y fan.

---

## LLOSGIADAU A RHEWIANT. *(BURNS AND FREEZING.)*

Mae dwfr oer yn un o'r meddyginiaethau mwyaf rhinweddol, a'r parotaf at losgiadau. Er fod dwfr oer wedi bod mewn arferiad drwy yr holl amser, mae yn beth hynod fod gan lleied yn gwybod am ei rinwedd. Mae yn rhaid bod hyny yn amlwg i bob dynsoddwr, nad oes dim yn ngyfundrefn natur, yn fwy priodol na dwfr oer at losgiad. Nid yn unig mae yn atal tywalltiad y gwaed i'r parth, ond y mae yn cludo ymaith y gwres gormodol, yn nghyd â lláchau y croen; felly yn adfywhau gweithrediad y chwysdarth, ac yn rhwystro tywalltiad y meiddwaed rhwng y ddau groen, ac felly yn lluddias pothelliad. A phan fyddo y glasgroen wedi ei ddinystrio, mae y cymwysiad celfydd mwyaf priodol.

Pan fyddo person wedi llosgi gyda dwfr, neu dân, na fydded iddo oedi i dynu ymaith y wisg. Tywallter dwfr oer, ac amwisger y parth gyda lliain gwlyb, a pharhaer i dywallt dwfr oer arnynt mor fynych ag y

byddo y llosgiad a'r boen yn dychwelyd. Y mae rhai meddygon yn hoffus iawn o *spirits of turpentine;* ond meddyginiaeth ffyrnig ydyw ei hun, yn enwedig pan fyddo y croen i ffordd. Pan fyddo y llosgiadau a'r gofid wedi ymatal, enneinier y parth â rhan gyfartal o *olive oil* a *balsam of fir*, neu *olive oil* a dwfr calch, wedi eu cymysgu yn nghyd yn dda; wedi hyny rhodder sugaethen o *slippery elm*, neu flawd grawn Indiaidd âg ychydig o *ginger* ynddo; ac wrth newid y sugaethen, golcher y dolur gyda sebon, yn lân. Os bydd y dolur yn ddyfrllyd, golcher â dwfr wedi berwi rhisgl derw ynddo, neu *peruvian bark.*

Mae yr eli canlynol gyda y peth goreu i'w roddi ar losg tân; a gellir ymddibynu arno bob amser, yn yr achosion gwaethaf:—Cymerer o flawd gwenith a bloneg, bwysau cyfartal, a chymysger ynddo ychydig o gotwm cynffon y gath (*cat-tail,*) neu gotwm cyffredin; taener ar liain, a rhodder wrth y dolur, gan ei newid ddwy waith y dydd. Os gwelir na bydd yr eli blaenorol yn croeni y dolur, cymerer hanner dram o *blue vitrol*, wedi ei falu yn llwch, a berwer mewn chwarter pwys o ymenyn heb halen; taener hwn yn deneu ar liain, a rhodder ar y dolur. Y dirgelwch mewn gwellhau llosg tân, sydd gynnwysedig mewn atal yr awyr i fyned at y dolur o'r dechreu, ac felly, un peth a fyddo yn rhwystro yr awyr i fyned ato sydd yn ei wellhau.

RHEWIANT. Mae hwn yn cynnyrchu effeithiau cyffelyb i losg tân, ac yn gofyn cyffelyb driniaeth. Os twymir y parth rhewedig yn ddisymwth, mae madredd yn dueddol o ganlyn. Rhodder y parth mewn dwfr oer, hyd oni byddo y rhew wedi dyfod allan; wedi hyny, cadwer sugaethen wrtho hyd oni byddo yr enyniad wedi lleddfu, a chymhwyser at y doluriau en-

naint llosg tân. Mewn llosgiadau a rhewiant, dyleu y goddefydd gymeryd meddyginiaeth gynhesol, yn dufewnol.

---

## TAGIAD. *(CHOKING.)*

Mae hyn, yn fynych, yn dygwydd wrth fwyta cig eidion, ac ymborth arall nad ydyw wedi ei dòri a'i gnoi yn ddigonol. Pan fyddo ymborth wedi glynu yn y gwddf, edrycher i mewn i'r safn, ac os gellir cael gafael ynddo gyda y bysedd, neu efail eiddil, tyner allan. Os na ellir gwneuthur hyn, gwneler ymdrech i'w wthio i lawr gyda y bys, hyny os na bydd yn bosibl, a achosa safnrythiad, neu gyfogiad, ac yn y cynnhyrfiad, y mae weithiau yn cael ei daflu i fynu. Os na lwyddir, bydded i'r goddefydd gymeryd trwyth *lobelia*, wedi ei wneuthur gyda dwfr ac ychydig o sebon *castile*, yn ei safn, a'i wddf, i'r dyben o gynnyrchu llàchad a chyfogiad. Wedi hyny, twymer canwyll, fel y byddo yn ystwyth, neu gymerer darn o *whalebone*, neu wyfr wedi ei phlygu yn gyfaddas, a rhwymo oddiamgylch iddi fretyn, neu edef gotwm, a rhodder ychydig o olew arno. Gydag un o'r pethau hyn, gwthier y sylwedd tagiadol i'r gwddf. Os asgwrn pysgodyn, nodwydd, neu unrhyw sylwedd blaenllym a fydd, a pherygl iddo fyned i'r cylla, sicrhaer nifer o ddolenau o edef wrth ben *whalebone*, neu wyfr, a gwthier y tu isaf i'r sylwedd, ac wrth ddyfod âg ef i fynu, neu wedi i ddolen gydio ynddo, nydd-droer hyd oni byddo y sylwedd estronol wedi ei sicrhau, yna gellir ei dynu ymaith. Ysbwng, wedi ei sicrhau yn y dull blaenorol, a'i wthio islaw y sylwedd, ac wedi hyny ei lenwi â dwfr, sydd wedi bod yn llwyddianus. Tarawo y goddefydd ar y

cefn, sydd rai gweithiau, wedi effeithio symudiad y sylwedd ystagiadol yn y sefnig. Os bydd y sylwedd yn chwibol yr anadl, mae tarawo y goddefydd bob yn ail ar y cefn ac ar gledr y ddwyfron, a'r goddefydd ar yr un pryd i lenwi ei ysgyfaint gydag anadl gymaint a fydd yn ddichonadwy, wedi bod yn effeithiol. Hefyd mae cynhyrfu ystrewian a pheswch, yn profi yn effeithiol yn y cyflwr hyny.

---

## GIFFRAWDD. *(HYSTERIC.)*

Mae yr afiechyd yma yn cael ei ystyried, yn fwyaf neillduol, yn perthyn i'r rhyw fenywaidd; ac y mae yn ymddangos mewn amrywiol agweddau, fel y mae yn anhawdd ei ddysgrifio yn berffaith.

Arwyddion.—Mae weithiau rag-arwyddion o flaen ymosodiad, neu gyfnod yr anhwyldeb, megys llwfrhad ac iselder ysbryd—trwmfrydedd y meddwl—llifiant y dagrau—anhawsder i anadlu—teimlad alarllyd y cylla—llamiadau y galon. Mae yn fynych boen i'w deimlo yn yr ochr chwith, gyda theimlad o eangiad ar i fynu yn y gwddf; ac yn achlysurol, teimlad fel pe byddai clap yn y gwddf. Pan fyddo yr afiechyd wedi cyrhaeddyd ei uwchafiaeth, y goddefydd a ymddengys fel pe byddai yn cael ei fygwth a mygiad—teimlad gwanychol—hurtrwydd—dirdyniadau, gyda chylchynol bangfeydd o chwerthin, a wylo, ag ysgrechian. Pan fyddo y pangfeydd yn ymadael, mae gwynt fel yn cilio o'r cylla, gyda mynych ocheneidiau, a'r eigian, ac yna bydd y goddefydd yn dadebru heb fod yn wybodol o'r hyn a ddygwyddodd. Weithiau, nid oes dim dirdyniadau, ac y mae y goddefydd yn suddo i annheimladrwydd. Yn gyffredin, bydd y cwsg yn anesmwyth a blinderog, a'r

goddefydd a flinir yn fynych gan yr hunllef—gwaew yn y pen—cramp—poen hedegog yn amrywiol barthau y corff—y llygaid, yn fynych, a dywyllant i raddau—y clyw yn drwm, a'r holl gyneddfau eneidiol yn wanychol—y meddwl a gynhyrfir ar yr achos lleiaf, ac a yrir i drallodau—aflonyddwch—dychryn—tristwch—digter. Mae y cyfryw ac sydd yn ymboeni o dan yr anhwyldeb yma, yn dueddol o ddychmygu, eu bod yn goddef o dan ryw afiechyd ag a fydd yn profi yn angeuol yn fuan, pan ar yr un pryd, y byddant yn hollol glir oddiwrth y fath afiechyd, a ffromant yn aruthrol os cynnyg neb dybiau gwahanol.

Achosion.—Disyfyd dristwch—ofn a llawenydd—afreolaeth y misglwyf—bywyd moethus—ystafelloedd twym—-defod esteddawl—-ymborth annrheuliedig-—llyngyr—ataliad y chwysdarth—ennynfa a dolur yn asgwrn y cefn, y groth, neu y rhith lestr (*ovaria.*)

Triniaeth.—Yn gyntaf, lleddfu yr arwyddion dirdynol, neu grampiol (*spasmodic,*) pa rai sydd fel achos neu hanfod y pangfeydd. Yn ail, lleihau cyffroad y gyfundrefn gieuol, a chryfhau y cyfangorff, yn nghyfnod dyspeidiad y pangfeydd. Yn nghyfnod y pang, mae yn ofynol lláchau dillad y goddefydd, a thaeneller ychydig o ddwfr oer ar y gwyneb, wedi hyny, gosoder y goddefydd ar ei gefn, a'r pen yn lled uchel, mewn ystafell ac y byddo awyr iach yn cael mynedfa rhwydd. A bydded i'r gweinyddion rwbio yr arleisiau, yr ymysgaroedd, a'r aelodau. Os bydd amgylchiadau yn caniatau, bydded i'r traed gael eu baddio mewn dwfr twym, neu rhodder costrelau â dwfr poeth wrthynt. Mae hyny yn cyfartalu cylchrediad y gwaed, yr hyn sydd anhebgorol angenrheidiol yn yr anhwyldeb yma. Wedi hyny, rhodder hanner llonaid llwy dê o'r powdr chwysbarol bob dwy awr, hyd oni byddo y goddefydd wedi esmwythau. Yn nghyfnod dyspeidiad y pangfeydd,

bydd yn ofynol glanhau y cylla, &c., gogyfer a chymeryd meddyginiaethau i atal dychweliad y pangfeydd. I gyflawni hyny, gweinydder cyfogbair tyner, a phan ddarfyddo effaith y cyfogbair, rhodder carthbair. Mae yr ymysgaroedd yn dueddol o fod yn rhwym annghyffredin yn yr anhwyldeb yma; i luddias hyny, gweinydder y peleni gwrth-gwalldreuliad; gellir cymeryd dwy, neu dair, amser gwely. Yn nghyfnod y dydd, bydded i'r goddefydd gymeryd hanner, neu lonaid gwinwydr o'r meddyglyn adferiadol. Mae y darpariad hyn, yn ddios, yn gwellhau cyflwr y goddefydd, yn adnewyddu chwant bwyd, a grym y giau, ac felly, yn atal dychweliad y pangfeydd. Mae yn ofynol bod yn ofalus hynod mewn perthynas i'r ymborth; dyleu fod yn gynnwysedig o'r fath hawddaf i'w dreulio.

---

## CYHYRWST A DIRDYNIADAU. *(SPASMS AND CONVULSIONS.)*

Y cyhyrwst sydd grebychiad sefydlog y cyhyrau, yn aros am beth amser, ac yn lleddfu yn raddol, a disymwth weithiau. Math arswydus, a elwyr cyhyrwst y cylla *(cramp of the stomach,)* a achosir gan ymborth niweidiol—yfed dwfr oer ar hin boeth—trosglwyddiad y droedwst i'r peiriant hyny, neu un peth arall sydd yn cynhyrfu y gyfundrefn gieuol. Math arall, sydd hynod o beryglus, yw yr hyn sydd yn ymosod ar y *larynx*, pen uchaf corn y gwynt, fel math o wddf-gaethiad. Math arall, nad oes ynddo fawr o berygl, ond yn hynod o boenus, a elwir cramp yn y coesau, a'r cluniau, yn dygwydd yn gyffredin yn y nôs. Mae y cyhyrwst yn dygwydd fynychaf mewn cyfansoddiadau gweiniaid; mae yn cymeryd y cyfryw yn ddisymwth.

TRINIAETH.—Pan fyddo yn y cylla, mae cyfogbair, weithiau, ar y dechreu, a rhoddi plastr mwstard oddiallan, yn atal y boen rhagblaen; gwna twymolchiadau oddiallan ateb yr un dyben. Pan ddarfyddo effaith y cyfogbair bydd yn ofynol gweinyddu carthbair tyner, megys *castor oil*. Os na fydd y boen yn esmwythau, wedi myned trwy y driniaeth yma, rhodder hanner llonaid llwy dê o'r powdr chwysbair, ag wythfed ran o *sulphate of morphine* yn mhob dogn, a'u rhoddi bob dwy, neu dair awr, hyd oni byddo y boen wedi esmwytho; gan wneuthur ar yr un pryd, bob ymdrech i gynnyrchu chwysiad. Y mae rhwbio parth y cylla, oddiallan, wedi ei atal yn fynych. Mae rhoddi deg diferyn o *oil of hemlock*, mewn tê *chamomile*, yn hynod effeithiol. Hefyd, llonaid llwy dê o *laudanum*, *essence of peppermint*, a *spirits of camphire*. Neu, lonaid llwy dê o *sulphuric ether*, mewn tê *ginger*.

---

## GENAU CLOEDIG. *(LOCK-JAW.)*

ARWYDDION.—Dechreua yn gyffredin yn raddol, gyd ag anystwythdra yn y gwddf—cyfyngder yn y cylla—ac anhawsder i lyngcu—wedi hyny, cyhyrau y genau a gwtogant yn ystyfnig, a'r dannedd a osodir yn nghyd yn gadarn, a bydd y cyhyrwst yn amryw o gyhyrau y gwddf, ac weithiau, trwy yr holl gorff, a dirdyniadau yn achlysurol. Bydd yr arwyddion hyn yn aml yn dyfod yn ddisymwth. Mae yn fynych, yn parhau o bump i ddeg diwrnod, ac yn gyffredin, mae yn ymadael yn raddol.

ACHOSION.—Gan mwyaf, archollion yn y parthau gieuog, yn enwedig pigiadau yn y dwylaw a'r traed.

TRINIAETH.—Pan fyddo yn deilliaw oddiwrth ar-

chollion wedi ffyrnigo, fel y mae yn fynych yn dygwydd, rhaid edrych i hyny yn benaf. Os bydd cyflwr y goddefydd yn caniatau, rhaid dal y parth archolledig uwch ben ager rhyw lysiau chwerwon, wedi hyny, rhodder sugaethen o *slippery elm*, neu fara â llaeth. Os bydd arwyddion yr anhwyldeb yn parhau wedi hyny, a chramp a dolur yn y gwddf, a'r ên, rhodder i'r goddefydd lonaid llwy dê o *tincture of lobelia*, mewn ychydig o dê *boneset*, neu dê *sage*, bob dauddeg mynyd, hyd oni effeithio fel cyfogbair. Os na bydd y moddion a nodwyd yn lleddfu yr anhwyldeb, gwell gweinyddu y *black drops;* pan fyddo yr achos yn ddiriad, rhodder llonaid llwy dê, ond mae yn ofynol rheoleiddio hyny yn ol ffyrnigrwydd yr arwyddion; neu rhodder pelen o *opium*, cymaint a physen, bob pedair awr, hyd oni byddo yr arwyddion diriad wedi lleddfu. Os bydd y genau mor gloedig, fel nas gellir gweinyddu meddyginiaeth felly, rhodder chwistrellau, cynnwysedig o drwyth *lobelia*, yn hanner yn hanner â llaeth, a'u melysu gyda *molasses*, ag ychydig o *sweet oil* ynddo, ac yn mhob chwistrelliad rhodder o hanner i owns o *laudanum*. Nid yw yn angenrheidiol rhoddi hyn ond pan fyddo y moddion ereill yn methu.

---

## DYCHLAMIAD Y GALON. *(PALPITATION OF THE HEART.)*

Canfyddir hyn trwy chwyrn ac afreolaidd guriad, a chyffroad y galon. Ymddengys fod yn cael ei achosi, weithiau, gan oruchwyliaeth afreolaidd y giau.

ACHOSION.—Mae weithiau, yn tarddu oddiar anhwyldeb periannol y galon. Mae arfer tê a choffi cryf, ac yn ormodol, yn achosi dychlamiad y galon—ymegniad

dirfawr—ymarferiad eisteddawl—cywestach, a phob ymarferiad gwanychol. Hefyd, defnyddio yn ormodol wirod meddwol—*opium, mercury*, a mwnau gwenwynig ereill—arfer gwaedu yn fynych sydd yn foddion niweidiol, ac yn cynnyrchu yr anhwyldeb yma, yn enwedig mewn cyfansoddiadau gweiniad. Hefyd, cynhyrfiad, ac ymarferiad gormodol y meddwl, sydd yn achos cyffredin.

Triniaeth.—Os bydd yr anhwyldeb fel arwydd o ryw anhwyldeb arall, megys dyfrglwyf y ddwyfron, gwalldreuliad, rhaid gweinyddu meddyginiaethau pwrpasol i wellau y cyfryw.

Mae yn ofynol gochelyd pob peth cynhyrfiol, megys digter, ymegniad gormodol, a phob peth sydd o natur boethol. Yn ymgyrch yr anhwyldeb, cymerer hanner llonaid llwy de o pupur cochion, mewn ychydig o ddwfr, wedi ei felysu, neu *ether*, a *laudanum*, a *tincture of castor*, yr un faint o bod un, wedi eu cymysgu yn nghyd; dogn, llonaid llwy de mewn ychydig o ddwfr, bob tair, neu bedair awr. Pan fyddo ymgyrch yr afiechyd wedi lleddfu, bydd yn ofynol arfer moddion i atal hyny; cymerer y *compound powder of jalap*, ddwy waith yr wythnos, a rhodder plastr ennynol (*iritating plster*) wrth yr ochr, a'r cefn, a chymerer y meddyglyn gwin adferiadol. Nid yn aml y gellir gwellhau afiechyd gwreiddiol yn mheiriant y galon, ond y mae esmwythad yn hynod ddymunol, ac yn beth y dylid ymgyrchu ato. Gellir cymeryd dau neu dri gronyn o *extract of henbane;* mae yn esmwythau ymgyrch yr anhwyldeb. Mae benywaid beichiogion yn cael eu blino yn aml gan ddychlamiad y galon, yn cyfodi yn aml, oddiwrth anhwyldeb y cylla; i leddfu hyny, cymerer carthbair tyner yn achlysurol, â undeg-pump dyferyn o *tincture digitalis*, dair gwaith y dydd.

## BYTHEIRIAD DYFRLLYD. (*WATER BRASH.*)

Arwyddion.—Cramp a gofid yn y cylla, y rhan amlaf pan fyddo yn wâg, yn gydfynedol ag arllwysiad o wlybwr dyfrllyd a diarchwaeth yn gyffredin, ond weithiau, yn surllyd.

Triniaeth.—Cymerer *compound tincture of senna*, wyth owns; *tincture balsam tolu*, hanner owns; cymysger, a chymerer llonaid llwy fwrdd bob boreu cyn bwyta. Mae hyn yn chwalu y gwynt, cryfhau y cylla, ac yn un o'r moddion goreu i symud yr afiechyd yma. Os bydd hyn yn methu, cymerer y peleni gwrth-gwalldreuliad. Mae yn ofynol bod yn ofalus mewn perthynas i'r ymborth, i beidio bwyta dim seimlyd, sur, ac anhawdd ei dreulio; pupur cochion, halen, a mwstard, a ellir arfer yn helaeth gyda yr ymborth,

---

## DWFR POETH. (*HEART-BURN.*)

Arwyddion.—Teimlad anesmwyth yn y cylla—trwmfrydedd—anhawsder i anadlu—ac yn neillduol, bytheiriad llymsur, a llosgedig, o'r cylla i'r gwddf.

Achosion.—Ymborth seimlyd—bolrwymedd—gwalldreiliad—surni a gwendid y cylla. Mae yr achos, weithiau, yn cyfodi oddiwrth sylwedd geriaidd yn y cylla, pryd hyny, mae yn gydfynedol a bytheiriad chwerw, ac yn achlysurol, cyfogi sylwedd melyn, neu lâswyrdd.

Triniaeth.—Os bydd yn tarddu oddiar surni, cymerer o lonaid llwy de i lonaid llwy fwrdd o *carbonate of magnesia*, yn achlysurol. Os na bydd hyny yn symud

yr anhwyldeb, gweinydder cyfogbair, a dilyner hyny â charthbair. Os bydd yn ceal ei achosi gan wynt yn y cylla, cymerer llonaid llwy de o'r *compound tincture of lavender;* neu y meddyglyn gwrthsur sydd hynod effeithiol.

---

## YR EIGIAN. *(HICCOUGH.)*

Mae y cynhyrfiad adnabyddus yma, weithiau, yn hynod o flinderog.

Triniaeth.—I'w symud, cymerer dogn fechan o *tincture of lobelia*, neu bwytaer ychydig o gnewyllod *peaches*, neu almonau chwerwon. Dychryndod disymwth, neu hyd yn nod yfed dwfr oer, a'i symud yn fynych. Mewn achosion ystyfnig, rhodder *tincture peach kernels*, a *tincture of rhubarb*, llonaid llwy dê o bob un, ag ychydig o *carbonate of soda* ynddo. Pan fyddo yn cael ei achosi gan ymborth annhreuledig, ychydig o frandy a'i gwellha. Os gwynt fydd yr achos, cymerer *fennel seed*, a llonaid llwy dê o *compound tincture of lavender*, a *tincture of cardaman*, llonaid llwy dê o bob un, mewn hanner llonaid cwpan dê o'r tê *fennel seed*, ag ychydig ddiferion o *laudanum*.

---

## GIADEG. *(NEURALGIA.)*

Arwyddion.—Mae yr afiechyd yma yn nodweddadwy, trwy fod poenau arteithiol, fel brathiadau cyllell, yn ymsaethu ar hyd y giau, gyda chyflymder melltenaidd. Mae gan mwyaf, yn effeithio y gwyneb, ac yn teimlo fel pe byddai yn cyfodi yn nghanol yr ên, ond y

mae weithiau, yn rhuthro i'r gwddf, y ddwyfron, y coesau, a pharthau ereill. Mae yn dyfod yn argyrchol, ac weithiau, yn dychwelyd yn gyfnodawl, bob dydd, fel clefyd dyspeidiol. Pan y mae yn erwin, neu yn parhau am hir amser, mae y parth effeithedig yn dueddol o chwyddo, a bod yn ddolurus.

Achosion.—Defnyddio tê a choffi yn ormodol—ymarferiad eisteddol—gormodol gywestach—dynöethiad i oerfel, neu un peth sydd yn tueddu i niweidio y gïau.

Triniaeth.—Golcher y parth gyda y moddion canlynol: *sulphuric ether, laudanum, oil of rosemary,* un owns o bob un, wedi eu cymysgu yn nghyd. Mae yn ofynol, yn yr anhwyldeb yma, gymeryd moddion cryfhaol; ond yn gyntaf, rhaid darparu y cylla gogyfer a'u cymeryd, trwy weinyddu cyfogbair, ac wedi hyny, carthbeiriau esmwyth; megys y peleni gwrth-gwalldreuliad. Mae y *sulphate of quinine* yn hynod effeithiol yn yr anhwyldeb; deg gronyn o *quinine*, un dram o *elixir of vitrol, port wine,* pedair owns; dogn, llonaid llwy de dair, neu bedair gwaith y dydd. Os bydd hyn yn methu, cymerer y *carbonate of iron*, neu y meddyglyn gwin adferiadol.

---

## Y GLUNWST. *(SCIATICA—HIP DISEASE.)*

Arwyddion.—Poen cyffelyb i'r *neuralgia*, a deimlir yn fynych gyntaf, yn mhen y glin; ond yn gyffredin, mae eisteddfod yr anhwyldeb yn y gï clunwstol *(sciatic nerve,)* yn agos i gymal pen y glun. Weithiau, mae yr achos yn asgwrn y cefn, ac yn rhedeg oddi yno ar hyd y gï a elwir *(sciatic nerve,)* i ben y clun, ac oddi yno, ar hyd y gï sydd yn rhedeg gyda y rhedweli ar hyd y glun i'r penlin, ac oddi yno i'r troed.

Triniaeth.—Mae yn ofynol edrych yn fanol lle mae eisteddfod y boen. Ond yn gyntaf, cymerer y carthbair *jalap*, a *cream of tartar*, a phan ddarfyddo effaith hyny, cymerer y powdr chwysbair; hanner llonaid llwy de, bob pedair awr, a llonaid llwy de o *spirits of nitre*, bob yn ail, bob pedair, gan ddechreu yn mhen dwy awr wedi cymeryd y powdr. Ac oni bydd y boen yn esmwytho, yn mhen diwrnod, neu ddau, enneinier y parth gyda chyfran gyfartal o *oil of origanum*, *oil of sassafras*, a *spirit of turpentine*, ac *aqua ammonia*. Os bydd y boen yn dal yn llym wedi hyny, rhodder blastr, bothellog ychydig y tu isaf i'r boen, a chrafnidio o bob tu y parth isaf i asgwrn y cefn. Bydd yn ofynol cymeryd y carthbair bob dydd, neu bob yn ail dydd, hyd oni byddo y boen wedi esmwythau. Ac wedi hyny, i atal dychweliad yr anhwyldeb, cymerer y melysnodd *sarsaparilla*, ag un dram o *iodide of patasse* yn mhob dau beint o hono.

---

## COLUDDWST GERIOG. (*BILLIOUS COLIC.*)

Mae yr afiechyd yma yn gyffredin, yn rhagflaenedig âg anhwyldeb cyffredinol y corff; megys bolrwymedd—arwyddion o dwymyn, yn gydfynedol ag arloesygiad—cyfogi sylwedd gerïaidd—poen llym a dirdynol yn y coluddion—ennyniad, a byddant yn myned yn ddolurus wrth eu teimlo, pan yn cael ei adael i fyned yn mlaen. Weithiau, mae crebachaiad yn y coluddion, fel nas gall eu cynnwysiad symud ymaith; yn gyffredinol, y wedd fydd felynaidd.

Achosion.—Mae yn debygol mae rhyw anhwyldeb yn yr afu a'i hachosa. Mae yn ymddangos fod y coluddwst geriog yn cael ei achosi fynychaf gan ddiffyg

didoliad y geri, yn hytrach na gormodedd. Mae yr argoelion hyny i'w gweled trwy y bolrwymedd ystyfnig, a'r lliw melynaidd sydd dueddol o fod ar y croen, ac nid oes dim amheuaeth nad yw yr hyn sydd o'r geri yn llym a drwg, ac felly, yn achosi y fath gynhyrfiad afiachus yn y cylla.

Triniaeth.—Yr arddangosiad o wellad yn yr afiechyd yma yw—

1. Lleddfu cynhyrfiad y cylla.
2. Gwaghau y coluddion o'u cynnwysiad cynhyrfiol.
3. Symud y boen a'r cramp.
4. Cefnogi didoliad iachus yr afu.

I leddfu cynhyrfiad y cylla, cymerer *salaratus*, llonaid llwy de; te mintys, hanner peint; *laudanum*, llonaid llwy de. O hyn, rhodder llonaid llwy fwrdd, lled fechan, bob hanner awr, neu mor amled ag y byddo cyfogiad yn dygwydd; a phan fyddo y cyfogiad wedi atal, cymerer y carthbair gwrthgeriaidd; cymerer tua dwy lonaid llwy de bob awr, hyd oni byddo y coluddion wedi cael eu gwaghau. Pan mae y cylla a'r afu yn y fath sefyllfa farwaidd, fel nad yw y carthbair bywiog yma yn ddigon i symud y coluddion, yn y cyflwr hyny, chwestrellau yw yr unig beth a all fod yn effeithiol. I leddfu y boen, cymhwyser twymolchiadau o hopys wedi eu berwi mewn dwfr a gwinegr, at yr ymysgaroedd, gyda gwlaneni, a'i newid mor aml ag y byddont yn oeri. Os bydd cynhyrfiad y cylla yn parhau, wedi myned trwy y driniaeth flaenorol, rhodder hanner gronyn o *morphine*, mewn pedair owns o ddwfr, a bydded i'r goddefydd gymeryd llonaid llwy de o'r cymysgedd bob awr, neu ddwy, hyd oni byddo cynhyrfiad y cylla wedi lleddfu. Wedi hyny, neu gellir dechreu yn y cyfamser, i roddi y moddion canlynol i'r dyben o sumud cynnwysiad y coluddion; *epsom salts*, wyth owns; dwfr berwedig, un peint; dogn llonaid llwy

fwrdd bob awr, mewn llonaid gwin-wydr o ddwfr, hyd oni byddo wedi effeithio fel carthbair. Mae y cymysgedd yma, yn gyffredin, yn lleddfu y cyfogiad yn fuan.

---

## COLUDDWST GWYNTOG. *(FLATULENT COLIC.)*

Mae chwydd yn arwydd hynodol o'r dechreu, ac anesmwythder yn y cylla a'r coluddion—yn fuan, dilynir â phoen neillduol o dost, a chlafaidd, pa un a barha i gynnyddu hyd oni byddo yn ddirfawr—yna, llonydda fwy neu lai, ac felly bydd, yn parhau yn argyrchol o boen ac esmwythder, yr amser yn amrywio yn ol ansawdd y cyflyrau. Yn nghyfnod ymgyrch y boen, y goddefydd sydd dueddol o ogwyddo yn mlaen, a gwasgu ei fol a'i ddwylaw, yr hyn sydd yn lliniaru y boen. Yn achlysurawl, mwy neu lai o wynt sydd yn ymadael o'r cylla, neu y coluddion, yn gydfynedol ag esmwythad y boen. Mae yr ymysgaroedd yn farwaidd, a'r tafod yn orchuddiedig gan bán gwyn.

Achosion.—Ymborth annhreuliedig—ffrwythau anaeddfed—ataliad disymwyth y chwysdarthiad—bolrwymedd. Mae rhai personau yn rhagdueddol iddo. Mae yn fwy cyffredin ar blant.

Triniaeth.—Mae y coluddwst gwyntog yn lled hawdd ei wellhâu. Yr amcan penaf yw gyru ymaith y gwynt. Mae y cyffeiriau canlynol, yn gyffredin, yn rhoddi esmwythad buan. Cymerer *cayenne pepper, cinnamon, cloves, nutmeg, ginger, gum aloes,* yr un fesur o bob un, wedi eu malu. Rhodder llonaid llwy fwrdd o'r gymysgfa yma, mewn hanner peint o *holland gin*—dogn, llonaid llwy fwrdd, mewn dwfr wedi ei felysu, neu de dail, bob awr, hyd oni byddo yn effeithio

fel carthbair. Ar yr un pryd, bydded i'r goddefydd yfed yn helaeth o de *spearmint*, neu *peppermint*. Os bydd yn cyfodi o achos arlwytho y cylla, bydd yn ofynol gweinyddu cyfogbair, gan yfed, yn y cyfamser, yn helaeth o de *camomile*. Os bydd cramp tost yn y cylla, mae esmwythad yn beth dymunol iawn; gwell fyddai rhoddi y pryd hyny, belen o *opium*, bob dwy, neu dair awr, hyd oni byddo wedi lleddfu, ac ar yr un pryd, cymhwyso yn allanol dwymolchiadau. A phan fyddo y cramp wedi esmwythau, i raddau, rhodder owns o'r *castor oil* goreu; ag oni bydd yn effeithio fel carthbair, yn mhen awr, neu ddwy, bydded i chwistrellau gael eu gweinyddu. Gellir rhoddi llonaid llwy de o *laudanum* yn mhob chwistrelliad. Mae y dognau blaenorol, fel agos bob man arall, yn bwrcasol i berson cyflawn oedran; mae yn ofynol rhoddi llai i blant, yn ol eu hoedran, ag amgylchiadau ereill.

---

## DEINTWST. (*TOOTH-ACHE.*)

Pan fyddo y Ddeintwst yn ddirfawr, y moddion mwyaf effeithiol yw tynu ymaith y dant effeithiedig; ond yn fynych, mae yn ddymunol cadw yn ochelgar; a gall amgylchiadau ereill fod yn achos i dyniad y dant fod yn anmhriodol.

Triniaeth.—Llanwer twll y dant gyda chotwm, wedi ei fwydo mewn *oil of cloves*, neu *oil of tar*, neu ryw olew sylweddol arall. Yfer yn helaeth o de *catnip*, neu ryw lysiau, a bydded i'r traed gael eu baddio, a chymerer y powdr chwysbair hyd oni chwysir. A chymhwyser at y gwyneb, wlanen wedi ei gwlychu mewn gwinegr, wedi berwi *cayenne pepper* ynddo. Hyn, yn fynych, a wellâ am yr amser presenol. Neu,

cymerer chwart o winegr cryf, un peint o ddwfr, a berwer yn nghyd, a bydded i'r goddefydd ddâl ei ben uwchben yr ager, a rhodder gwlanen o'r tu uchaf i atal yr ager fyned ymaith, a gadawer i beth ager fyned i'r genau. Mae yn effeithiol hynod pan fyddo gofid yn y pen, a thrwy y dannedd; gellir rhoddi ychydig o *cayenne pepper* yn y gwinegr. Pan fyddo y poen yn cael ei achosi gan ennyniad socas y dannedd, llanwer cwdyn bychain, o ddefnydd teneu, gyda *cayenne pepper*, a rhodder rhwng y dannedd a'r foch. I ladd y gieuyn yn y dant, llanwer twll y dant, ddwy waith neu dair yn dydd, â sug crafangc y fran *(yellow daisy.)* Mae llenwi y tyllau gydag aur, yn gadwriaeth brofiadol, ond gocheler rhag cymysgiadau ac y mae deintyddion yn ei ddefnyddio, a herwydd, maent yn llychwino y cyfansoddiad. Hefyd, y mae rhai yn defnyddio *arsenic* i ddinystrio y gieuyn yn y dant. Mae *kreosote*, wrth ei roddi ar gotwm, yn esmwythau y boen weithau, ond mae yn ofynol bod yn ofalus wrth eu arfer, o herwydd mae arferiad anmhriodol o hono, wedi profi yn angeuol, amryw weithiau.

---

## DOLUR Y PEN. *(HEAD-ACHE.)*

Mae dolur y pen o ddau ryw, sef gwreiddiol, ac arddangosol o anhwyldeb arall. Mae yn fynych, yn cyfodi oddiar sefyllfa afiachus y cylla, megys tywalltiad gormodol o sylwedd geriaidd. Pan fyddo yn dygwydd felly, gelwir ef y dolur pen clafaidd. Hefyd, mae yn cael ei achosi gan benderfyniad, neu dywalltiad i'r pen.

Arwyddion.—-Weithiau, mae yn dechreu gyda syrthni—traed oerion—cythruedd y meddwl—dylni y llygaid—poen yn y pen, weithiau yn cael ei gyfyngu yn

un ochr—gwall chwant bwyd—anweithgarwch y cylla, a'r coluddion—alariad gwrthwynebus. Mae yr arwyddion hyn yn parhau, weithiau, am ddiwrnod neu ddau, yn fynych yn terfynu mewn cyfogiad, yr hyn a ddilynir â chysgadrwydd a theimlad dolurus, ac anhyfryd, yn y pen, yr hyn a leddfa yn raddol. Mae llawer o bersonau yn neillduol dueddol iddo; mae yn dyfod yn gylchol ar rai, ac ereill yr ymgyrch yn afreolaidd.

Achosion.—Ansawdd neillduol y gyfundrefn gieuol—te a choffi—gormodedd o fwydydd seimlyd, a chig—myfyrio pan fyddo y cylla yn llawn, neu un peth sydd yn gwanychu y giau.

Triniaeth.—Wrth drin dolur y pen, mae yn ofynol, yn gyntaf, wybod yr achos. Os bydd yn tarddu oddiwrth y cylla, rhaid cyfeirio y sylw at y peiriant hyny, a bydd yn ofynol ei lanhau gyda chyfogbair, neu yn lle hyny, carthbair; a mynycher yn achlysurol. Dyleu y traed gael eu baddio mewn dwfr twym, i'r dyben o gyfartalu y cylchrediad, yn enwedig os bydd yn cyfodi oddiwrth benderfyniad y gwaed i'r pen. Pan fyddo yn cyfodi o achos cynhyrfiad y gyfundrefn gieuol, cymerer *valerian*, neu beleni *assafœtida*, a'r powdr chwysbair, amser gwely, a golcher y pen gydag *ether*. Mewn un achos o ddolur pen, oedd wedi gwrthsefyll pob moddion, yr oedd bob tri mis, arloesygiad a chyfogiad yn cymeryd lle, ac yn parhau am dri diwrnod. Gwellawyd agos yn hollol, trwy gymeryd llonaid llwy fwrdd o'r *compound tincture of senna*, bob dydd. Os bydd y boen un amser yn llym iawn, rhodder plastr fwstard rhwng yr ysgwyddau, ac wrth wadnau y traed. Mae yn ofynol bod yn ofalus hynod mewn perthynas i'r ymborth, yn yr anhwyldeb yma. Dyleu fod, y rhan fwyaf yn llysieuol, oeraidd, ac ysgafn; a'r fath ag sydd yn hawdd ei dreulio. Ffrwythau wedi eu mall-ferwi, a'u rhostio, sydd hynod ddefnyddiol, ac yn tueddu i rheol-

eiddio y coluddion; yr hyn beth sydd hynod angenrheidiol. Baddio coryn y pen, gyda dwfr oer, bob boreu, sydd feddyginiaeth effeithiol rhag dolur y pen. Mae y moddion canlynol yn effeithio yn ddaionus hynod, yn yr anhwyldeb yma; mae yn glanhau y cylla, ac yn cadw y coluddion mewn sefyllfa ddatotadwy:—cymerer *gentian root*, a *colomba root*, owns o bob un; *myrrh*, hanner owns; *aloes*, chwarter owns; *cardamon seed*, chwarter owns; *holland gin*, un peint; dwfr, chwarter peint; rhodder y cwbl yn y *gin*, a meluser gyda siwgr gwyn—dogn, llonaid llwy fwrdd, ddwy waith neu dair y dydd.

---

## TWYMYN YSGARLAD. *(SCARLET FEVER.)*

Arwyddion.—Yn gyffredin, dechreua gyda syrthni—cryndod anwydog—poenau yn y cefn—croen poeth a sychlyd, ac yn fynych, arloesygiad a chyfogiad. Yn mhen oddeutu dau ddiwrnod, crygdarddiad gloyw-goch a ymddengys ar y gwyneb, a'r gwddf, ac yn nghyfnod dauddeg-pedair awr, lledaena dros yr holl gorff. Y crygdarddiad sydd o liw cimwch wedi ei ferwi, ac nid ydyw yn dyrchafu yn uwch nag arwyneb y croen; yn fwy eglur yn y boreu nag yr hwyr. Y gwyneb sydd arferol o fod yn chwyddedig, ac yn fynych, mae y gwddf yn ddolurus. Y gwaedgur sydd gyflym, a'r tafod yn orchuddedig gan arwisg wen yn y canol, ond y blaen a'r ymylau yn goch tywyll. Gorphwyllder, weithiau, sydd yn dygwydd yn yr hwyr. Mewn pump neu chwech diwrnod, y crygdarddiad a dderfydd, yn gydfynedol a digèniad yr arwyneb. Ond mae yn fynych yn ymddangos mewn agwedd mwy tanbaid, pan

bydd y gwddf oddifewn yn myned yn goch—ennyniad dirfawr—llais yn gryglyd—llyngcu yn boenus, ac anhawdd—y croen yn boeth anarferol—y tafod yn sych a choch—syched mawr—y crygdarddiad yn dyfod allan yn afreolaidd, agos i ddim hyd y trydydd, neu y pedwerydd dydd. Os na bydd i'r dwymyn a'r ennyniad gael eu lliniaru, llynorod llwydion a ffurfiant yn y gwddf, a'r anadl fydd hynod ddrwgsawrus. Mae arwyddion y dyfyrglwyf, weithiau, yn ganlynol.

Ffafriol.—Y crygdarddiad yn dyfod allan yn unwedd, dros yr arwyneb yn y dechreu, a thua y diwedd, y tafod yn wlyddaidd, a chlir—gwaedgur yn fwy llawn, a rheolaidd—awydd bwyd yn dychwelyd—y glasgroen yn syrthio ymaith yn y genau.

Anffafriol.—Y crygdarddiad yn ymgymeryd lliw dulas tywyll—arllwysiad gormodol o'r coluddion—gwaedlif o'r genau, a'r ffroenau, a pharthau ereill—ysmotiau cochlas ar wahanol barthau—ymgrymiad—hurtrwydd a synwyrgoll gwastadol. Weithiau, mae y caner yn gwneuthur ymgyrch mawr, ac yn dinystrio y clyw neu y golwg.

Achosion.—Mae yn ddiamheuol mai haint, ond yn llywyddol gan y fath annherfynol amodau, fel nad yw ddim ond ychydig o ddefnyddioldeb i bersonau ei ochelyd, yn enwedig y cyfryw ag sydd yn preswylio yn yr ardal heintus. Ond doethineb yw peidio dynoethi yn rhyfygus, i bob math o haint.

Triniaeth.—Mae gweinyddu cyfogbair yn y dechreu, yn yr afiechyd yma, yn un o'r moddion mwyaf effeithiol; mae fel yn lladd ymgyrch yr anhwyldeb; ac ni ddyleu byth gael ei esgeuluso. Y mae, nid yn unig yn cludo ymaith y llysnafedd gwydn a heintus o'r cylla a'r gwddf, ond y mae yn achosi penderfyniad i'r croen; ac felly, yn cynnorthwyo i fwrw allan y tarddiad. Wedi darfyddo effeith y cyfogbair, gweinydder garth-

bair. Mae *jalap*, a *cream of tartar*, yn un o'r goreu, a phan ddarfyddo effaith hyny, rhodder hanner gronyn o *Ipecacuanha*, ac ychydig yn llai na hanner llonaid llwy de o'r powdr chwysbair, bob tair awr, neu bedair, i blentyn, pedair neu bump blwydd oed, a mwy neu lai, yn ol oedran y goddefydd. A bydded i'r goddefydd yfed yn helaeth o de *saffron*, a *virginia snake root*, wedi ei felysu. Gellir mynychu y cyfogbair, un amser, os canfyddir bod llysnafedd yn ffurfio yn gancr yn y gwddf. Mae baddio y traed mewn dwfr twym yn hynod o rinweddol yn yr afiechyd, fel agos i bob math o afiechyd. Os bydd y gwddf yn ddolurus, a chwydd yn y cylchwyrnau, eneinier gyda yr enaint canlynol:—*olive oil*, un owns; *aqua ammonia*, un owns; cymysger oll yn nghyd. Gellir arfer y gwddfolch canlynol at y gwddf a'r genau:—Cymerer te *sage*, hanner peint; *myrrh*, llonaid llwy de; *muriatic acid*, dauddeg dyferyn; melyser gyda mêl. Y mae golchi arwyneb y croen, gyda dwfr twym a *salaratus* ynddo, yn cael effaith dda rhagorol; mae yn ystwytho y crygdarddiad i ddyfod allan, yn golchi ymaith y sylwedd cenllyd sydd yn lluddias y chwysdarthiad, ac felly, yn atal y tueddiad i'r dyfrglwyf yn y diwedd. Mae yn ofynol gofalu am gadw y coluddion yn agored, trwy ymgyrch yr afiechyd, trwy weinyddu carthbeiriau; mae o'r pwysfawrogrwydd mwyaf. Mae weithiau, yn y gorsaf olaf o'r afiechyd, wendid, neu ymgrymiad holl alluoedd y corff yn cymeryd lle; ac oni byddir yn ofalus hynod y pryd hyny, cyll y goddefydd ei fywyd. Mae y moddion canlynol yn un o'r pethau goreu yn y cyflwr hyny:—Cymerer dwy lonaid llwy fwrdd o *cayenne pepper;* llonaid llwy de o halen; hanner peint o ddwfr berwedig; ac yn mhen undeg-pump mynyd, ychwaneger hanner peint o winegr, a gadawer iddo sefyll am un awr; yna hidler trwy liain, a rhodder o un i ddwy lonaid llwy fwrdd

bob hanner awr. Os na fydd y crygdarddiad yn dyfod allan yn dda, neu yn encilio wedi unwaith ddyfod allan, rhodder plastr o fwstard dros barth y cylla, a'r ymysgaroedd, a gwadnau y traed. Hefyd, bydded i'r traed gael eu baddio yn fynych, yn enwedig os bydd poen mawr yn y pen, a rhodder plastr o fwstard y tu ol i'r gwddf, yn yr amgylchiad hyny.

---

## DOLUR GWDDF PYDROL. *(PUTRID SORE THROAT.)*

Arwyddion.—-Cryndod—-trwmfrydedd—arloesygiad—gwres mawr, yn ganlynol—-anorphwysder—-syched —anadliad ffrwstaidd—y gwyneb yn wridiog—y llygaid yn gochion—y gwddf yn anystwyth, ac yn ddolurus oddifewn, a chrygni—y parth pellaf i'r genau yn goch danbaid, gyd âg ychydig o anhawsder i anadlu. Wedi ychydig amser, llinorod llwydion a ymddengys yn y gwddf, o'r diwedd, y genau yn ochuddiedig gan lysnafedd gwydn, a thew. Llinorod a ymddengys oddifewn i'r gwefusau, pa rai a dorant ac a ddigroenant y parthau amgylchynol—gorlif ysol a red o'r ffroenau. Oddeutu yr eilfed, neu y trydydd dydd, clytiau o liw coch tywyll a ymddengys ar y gwyneb, a'r gwddf. Y tafod a fydd yn orchuddiedig gan bàn dywyll—yr anadl yn ddrwgsawrus—gwaedgur bychan, a gwan, ac afreolaidd, ac arwyddion ereill o'r *typhus*. Mae yr arwyddion, weithiau, yn fwy tyner, ond yn fynych yn llawer mwy ffyrnig.

Achosion.—Yr un ag yn y dwymyn ysgarlad, o ba un, ymddengys ei fod yn rhywogaeth.

Triniaeth.—Yn yr orsaf gyntaf, gellir gweinyddu cyfogbair tyner, wedi hyny carthbair. Os bydd y

gwddf yn ddolurus, a llawer o ennyniad, bydded i'r goddefydd ddefnyddio ager oddiar yr un drwyth ag a gymeradwywyd yn ennyniad y gwddf. Hefyd, eneinier y gwddf oddiallan â'r enaint a nodwyd yno. Pan fyddo gweliau, neu linorod yn ymddangos yn y gwddf, golcher y genau, a'r gwddf, gyda chymysgedd o laeth a burym. Bydd yn ofynol gweinyddu meddyginiaethau gwrthbydrol; llonaid gwinwydr o furym da a ellir ei gymeryd bob dwy awr yn nghyfnod y dydd. Os bydd y gwaedgur yn wanaidd, a'r goddefydd yn tueddu i redeg i lawr, rhaid ei gynnal gyda meddyginiaethau cymhelliadol. Gellir rhoddi porter a gwin, yn achlysurol, yn y cyflwr hyny. Mae y moddion canlynol yn hynod o effeithiol:—Dwy lonaid llwy fwrdd o *cayenne pepper;* llonaid llwy de o halen; llonaid llwy fwrdd o *peruvian bark;* mewn hanner peint o ddwfr berwedig; ychwaneger at hyny ychydig o winegr da, yn dwym, a phan oero, hidler trwy liain; dogn dwy lonaid llwy fwrdd bob awr. Yr oedd meddyg enwog o Ffraingc, yn amser rhyfel y chwyldroad, yn gwellau pob un gyda y moddion canlynol, pan yr oeddynt yn marw yn lluoedd cyn hyny:—Cymerer *bark*, neu *berris sumac, white oak bark, white elm bark, black snake root*, hanner llonaid llaw o bob un; berwer yn nghyd; melyser gyda mêl, a rhodder ynddo ychydig o *alum*, a golcher y gwddf yn fynych oddifewn. Mae yfed yn helaeth o drwyth *black cherry bark, saffron, a sage*, trwy gyfnod y dolur, yn hynod o effeithiol. Gofaler am gadw y coluddion yn agored. Gellir gweinyddu ychydig o'r powdr chwysbair amser gwely.

## Y FRECH GOCH. *(MEASLES.)*

Arwyddion.—Dechreua gyda phoen yn y pen—cryndod, ac arwyddion ereill o dwymyn—yn ganlynol â chrygni—anhawsder i anadlu—peswch sych—cysgadrwydd—cochni yn y llygaid, gyda dylifiad teneu, dyfrllyd, o'r llygaid a'r ffroenau—cyfogiad, ac weithiau dirdyniadau. Y tafod fydd orchuddiedig gydag arwisg wèn, a'r anadl yn ddrwgsawrus. Ar y trydydd, neu y pedwerydd dydd, crygdarddiad a ymddengys, yn tebygoli i frathiadau chwain, pa rai a redant at eu gilydd, ac a ffurfiant yn glytiau. Bydd y crygdardd yn dechreu diflanu yn mhen tri, neu bedwar diwrnod, gyda philiad ymaith y glasgroen. Mewn achosion llymdost, y gwyneb, a'r llygaid, fydd yn chwyddedig—y tafod yn llwydaidd, a'r crygdarddiad o liw tywyll—a elwir weithiau, y frech ddu.

Ffafriol.—Y crygdarddiad yn ymddangos dros holl barthau y corff, âg ychydig o chwydd a chancr.

Anffafriol.—Y crygdarddiad yn encilio yn ol—darymred helaethlawn—gwaedlifiadau—lliw gwelw, neu ddulas ar y croen.

Achosion.—Cynghlwyf (*contagion*) yn cymeryd effaith, yn mhen o bump i saith diwrnod ar ol dynoethiad.

Triniaeth.—Ein dyledswydd, yn yr afiechyd yma, yr un modd ag yn mhob afiechyd tarddiadol, yw cynorthwyo natur i yru allan y crygdarddiad. Os bydd ymdrech natur yn annigonol a chymedroli hyny, pan fyddo yn rhy danbaid, gydag arllwysiadau cymhwys. Y perygl mwyaf, wrth drin y frech goch, fel pob afiechyd, sydd gynnwysedig mewn gwneuthur gormod, ac ymyraeth anamserol, ac felly yn cymeryd y gorchwyl o ddwylaw natur, a'i ymddyried i enbydrwydd ac an-

sicrwydd celfyddyd. Y cam cyntaf i'w gymeryd, yw baddio y traed mewn dwfr twym â *salaratus ;* hefyd, golchi yr arwyneb un waith, neu ddwy waith y dydd gyda yr unrhyw. A rhodder y drwyth ganlynol, mor brydlawn ag y byddo modd: cymerer *saffron*, dwy ran; *virginia snake root*, un rhan; bydded iddynt gael eu gwneuthur yn drwyth—melyser gyda siwgr, a rhodder yn dwym, gymaint ag a all y cylla gynnal. Os trwy wendid, anwyd, neu ryw achos arall, bydd y tarddiad ddim yn tori allan, neu wedi ymddangos y bydd yn encilio, yn ychwaneg at hyn, rhodder y powdr chwysbarol, neu laeth ag ychydig o *holand gin* ynddo; ac oni bydd hyn yn effeithio, defnyddier y baddon twym. Pan fyddo y tarddiad wedi ymddangos yn ddigonol ar yr arwyneb, ychydig o gyffyriau fydd yn angenrheidiol. Mae y llygaid, weithiau, yn yr afiechyd yma, yn hynod ddolurus; pryd hyny, golcher â dwfr *slippery elm* âg ychydig o *borax* ynddo. Pan fyddo casgliad mawr o lysnafedd yn yr ysgyfaint, yn achosi caethiwed ac anhawsder i anadlu, rhodder dogn digonol o'r *tincture* poerbair i rhyddhau hyny; a mynycher pan fyddo yr arwyddion hyny yn dychwelyd. Yn ychwanegiad at hyny, rhodder te *catnip* a *hoarhound*, wedi ei felysu a mêl. Os bydd poen mawr yn y pen, baddier y traed yn fynych, a chadwer plastr o fwstard wrthynt; ac os bydd gorphwyllder, rhodder un y tu ol i'r gwddf. Os bydd arloesygiad, a chyfogiad mynych yn cymeryd lle, rhodder te mintys âg ychydig *salaratus* da ynddo.

Mae o'r pwysfawrogrwydd mwyaf, edrych am gadw y coluddion yn agored, yn enwedig yn yr orsaf gyntaf; dylid gweinyddu carthdair, a mynychu hyny yn ol ansawdd y coluddion, y dwymyn, a'r ennyniad, &c. Os bydd y cynhyrfiad yn fawr iawn, mae yn ofynol rhoddi dogn cymedrol o garthbair, bob dydd, hyd oni byddo y crygdarddiad wedi ymddangos. Mae y canlynol yn un

o'r carthbeiriau goreu :—cymerer *senna* goreu, a *manna*, llonaid llwy de o bob un; a thywallter arnynt hanner peint o ddwfr berwedig, ac ychwaneger llonaid llwy de o *cream of tartar*, a melyser; rhodder i blentyn, dwy flwydd oed, lonaid llwy fwrdd, bob dwy awr, hyd oni byddo wedi effeithio fel carthbair.

## Y FRECH WEN. *(SMALL POX.)*

Y mae dau rywogaeth o hon, sef y gwahanedig, a'r cydredol; ond bernir fod gwahanol ansoddau, neu dymherau yn cael effeith mawr yn nghynnyrchiad dwy rywogaeth. Yr oedd 450,000 yn marw yn Europe yn flynyddol, cyn i frech y buchod ddyfod i arferiad.

Arwyddion.—Dechreua gyda chryndod anwydog—poen yn y cefn, y pen, a'r cylla—dolur yn y gwddf—syched—cyfogiad—y tafod yn orchuddedig gan bàn wen, pa un a ymgymer, yn raddol, liw coch dysglaer. Ar y trydydd dydd, crygdardd coch pigfain a ymddengys; a byddant ar y cyntaf, a'r ail ddydd, yn galedion, crwn, a phoenus. Fel bydd yr amser yn myned yn mlaen, byddant yn eangu yn raddol; ac ar y trydydd a'r pedwerydd dydd, wedi tori allan, byddant yn cynnwys ychydig o wylybwr melynaidd, a'r cyfwng rhyngddynt yn dyfod yn goch. Ar y chweched, a'r seithfed dydd, wedi tori allan, bydd y crygdardd yn nodweddadwy gan bant yn y canol. Ar y nawfed, a'r degfed dydd, bydd y pantle yn diflanu, ac yn cyd-ddrychioli ymddangosiad llawn, a chrwn. Ar yr undeg-un, a'r undegdau o ddyddiau, dechreuant sychu i fynu, ac yn ganlynol—crachenu, a syrthiant ymaith, a gadawant y croen o liw llwydgoch. Y gwyneb a'r llygaid, yn fynych, fyddant yn chwyddedig.

Ffafriol.—Pan fyddo y crygdarddiad yn wahanedig, ac os bydd i'r goddefydd gael triniaeth resymol, y terfyniad sydd, yn gyffredin, yn ffafriol, hyn a elwir y rhywogaeth wahanedig.

Anffafriol.—Pan fyddo y crygdarddiadau yn rhedeg y naill i'r llall, yn ffurfio clytiau mawrion—twymyn ac ennyniad llymdost, gelwir hyn, y rhywogaeth gydredol. Ac y mae, yn gyffredin, yn gydfynedol ag arwyddion pydrol, y fath a thafod du—ysmotiau dulas ar amrywiol barthau y corff--gwaedlif o'r llygaid, y ffroenau, y genau, a pharthau ereill

Achosion.—Cynghlwyf, ac a ellir ei ochelyd yn rhwydd, trwy ochel dynesiad at y claf, neu gyffwrdd ag un peth a ddaeth oddiwrtho. Mae yn cymeryd effaith yn mhen undeg-dau, neu undeg-pedwar o ddyddiau.

Triniaeth.—Yn nechreu y Frech Wen, rhaid ei thrin yn ol egwyddor gyffredinol, a chadw yn y golwg, ar yr un pryd, arwyddion neullduol, megys cyfogiad, &c. Mae y fath debygolrwydd mewn anhwylderau tarddiadol, a'r twymynaidd, fel y mae yn anhawdd hynod eu gwahaniaethu, hyd yn nod pan fyddo yr arwyddion yn nodedig, ond y mae un peth yn fanteisiol, eu bod yn gofyn y cyffelyb driniaeth. Os cyfogiad fydd un o'r arwyddion penaf, rhaid ymdrechu lleddfu cynhyrfiad y cylla, trwy roddi te *spearmint*, a llonaid llwy de o *salaratus* yn mhob hanner peint. A phan fyddo hyny wedi lleddfu, gweinydder carthbair. Wedi i'r cylla, a'r coluddion gael eu glanhau, rhaid cyfeirio y sylw at y croen; rhodder y fath foddion a fyddo yn cynnyrchu chwysdarthiad cymedrol. Mae y drwyth ganlynol yn hynod effeithiol:—cymerer *saffron*, a *catnip*, yr un faint o bob un; gwneler yn de, a rhodder yn dwym. Mae hyn, yn fuan, yn cynnyrchu gwlyddeidra y croen, ac yn cynnorthwyo i yru allan y crygdarddiad. Mae yn anhebgorol angenrheidiol baddio y traed, mewn

dwfr a *ley* gwan, neu *salaratus*, a mynychu hyny unwaith neu ddwy y dydd. Hefyd, bydd yn angenrheidiol golchi yr arwyneb â'r unrhyw, gymaint ag un, neu ddwy waith y dydd. Os bydd y cynhyrfiad twymynaidd yn ormodol, rhaid cymedroli hyny trwy y didoliadau, â'r ymgarthiadau; carthbeiriau a chwysbeiriau yw y dosbarth penaf o gyffeiriau i gyflawni y gorchwyl hyny. Os bydd y boen a'r gwres yn fawr, bydded i'r corff gael ei olchi â dwfr twym a *salaratus ;* nid yw o un gwahaniaeth os bydd y crygdarddiad allan. Mae yn anhebgorol angenrheidiol sylwi ar arwyddion neillduol; megys poen yn y pen—gorphwylldra—dolur yn y gwddf. Pan fydd poen yn y pen, yn ychwanegiad at faddio y traed, yr hyn yn unig yn aml sydd ddigonol, rhodder plastr o fwstard wrth wadnau y traed. Gellir golchi y pen hefyd, gyda rhan gyfartal o ddwfr gwlaw, *whiskey*, a gwinegr, yn glaear. Pan fyddo dolur yn y gwddf, a chasgliad o boer, a llsynafedd, rhodder llonaid llwy de o'r *tincture* poerbair; a mynycher yn achlysurol. Gellir arfer, fel gwddfolch, yr un faint o *sage* a *hyssop*, wedi eu gwneuthur yn drwyth gref; melyser gyda mêl, a rhodder ychydig o *borax* ynddo. Pan fyddo tuedd mawr yn hylifoedd y corff i droi yn bydrol, rhodder llonaid gwin-wydr o furym, dair gwaith y dydd. Weithiau, mae gwendid, neu ymgrymiad galluoedd y cyfansoddiad yn cymeryd lle, pan fyddo hyny yn dygwydd, rhodder maidd gwin llaeth enwyn, neu win a *peruvian bark* ynddo. Yn aml, trwy gyfnod yr anhwyldeb, y mae anesmwythder—poen—a diffyg cwsg hynod flinderog, &c. Pan fyddo y fath arwyddion yn bodoli, rhodder, i'r dyben i gadw penderfyniad i'r arwyneb, yn gystal a chynnyrchu gorphwysder, ddeg gronyn o'r powdr chwysbair, yn enwedig amser gwely; ac ar yr un pryd, yfer yn helaeth o drwyth *virginia snake root.* Pan fyddo y crygdarddiad yn encillio i

mewn yn ddisymwth, neu ddim yn llenwi yn dda, mae y perygl yn fawr. Gellir yfed yn helaeth y pryd hyny o *holland gin* a llaeth, yn nghyd a the *saffron*, a *snake root*. Y cyfnod mwyaf peryglus yn y frech wen, yw ymgyrch yr ail dwymyn sydd yn cymeryd lle, pan fyddo y crygdardd yn dechreu gwywo. Mae natur, weithiau, fel yn gwneuthur ymdrech i esmwythau y goddefydd gyda darymred helaeth, a phe byddai meddygon yn cymeryd yr awgrym hyny, gallant wybod beth i wneuthur. Pan fyddo y crygdarddiad wedi cael ei yru allan i'r arwyneb, ac yn dechreu gwywo, bydd yn ofynol gweinyddu carthbeiriau; ond yn flaenorol i'r orsaf yma, mae carthbair achlysurol yn ddigonol. Yn nghyfnod y dwymyn grygdarddiol, mae yn ofynol cadw y goddefydd yn oeraidd, ac esmwyth; a rhoddi diodydd teneuon, megys te mintys, balm, *catnip*. Ac os bydd y goddefydd yn sychedig anarferol, a'r crygdarddiad allan, rhodder *lemonade*, *currant jelly*, a the crystyn.

Trefniad Ymborth.—Rhaid i'r ymborth fod yn ysgafn, megys dwfr haidd, grual llaeth enwyn, afalau wedi eu rhostio, ffrwythau aeddfed, ac yn enwedig uwd *corn*, *(hasty pudding.)* Dyleu fod aweliad yn yr ystafell, ond ni ddyleu gael myned yn uniongyrchol at y goddefydd. Dyleu tymheredd yr ystafell fod yn gymedrol; ddim yn rhy oer nag yn rhy dwym. Mae yn ofynol rhoddi ystyriaeth neillduol i lanweithdra. Mor fuan ag y byddo y goddefydd wedi ymadael âg ymgarth o'r coluddion, cluder ymaith rhag blaen, a thywallter gwinegr ar briddfeini poethion, neu ryw sylwedd arall. Dyleu y dillad gael eu newid yn aml, a phob twrf a chythrudedd gael eu hatal. Mae llawer o bethau wedi cael eu canmol i atal y pantiau yn y frech wen; y fath ag agor y crygdardd, a chymhwysiad o *lunar caustic*. Ond mae yn hynod o amheuol pa un a bod dim defnyddioldeb wedi deilliaw oddiwrth yr ymarfer-

iad hyny, na dim o'r un natur. Nid oes dim yn well i atal yr ennyniad, a'r pantiau ar y gwyneb, yn gystal a lliniaru ennyniad y llygaid, na sugaethen o *slippery elm bark*. Y crugdardd, os byddant yn fawr, a llawnion anarferol, allant gael eu hagor, a gollwng yr hylif allan, ag wedi hyny taenellu blawd *slippery elm bark* arnynt.

---

## BRECH FASTARDDAIDD. (*VARIOLOID.*)

Arwyddion.—Mae hon yn rhywogaeth o'r Frech Wen, ond mae yn rhedeg ei gyrfa mewn oddeutu hanner yr amser. Y crygdardd sydd yn dechreu sychu oddeutu y pedwerydd, neu y pumed dydd, ac yn syrthio ymaith yn fuan, a dim ail dwymyn yn gydfynedol, fel yn y frech wen; ac nid yn fynych y mae yn gadael pantiau sefydlog. Mae yr arwyddion yn fwy anwadol, y crygdarddiadau a ymddangosant yn gnydau olynol, ac y mae yn gyffredin yn fwy tyner na y frech wen.

Achosion.—Cynghlwyf, yr un modd a'r frech wen. Mae y rhywogaeth yma yn dygwydd, weithiau, ar y cyfryw ag sydd wedi cael brech y buchod. Nid oes fawr o berygl ynddi.

---

## BRECH Y BUCHOD. (*KINE POX.*)

Mae tarddiad gwreiddiol y frech yma, oddiwrth anhwyldeb sydd yn dygwydd ar fuchod. Mae yn llariaidd hynod, ond eto mor debyg yn ei natur i'r frech wen, fel mae yn gyffredin yn rhwystro arweiniad y gwenwyn hyny i'r cyfansoddiad—os bydd wedi cael y flaenoriaeth. Y gwrthwynebiad a gyfodir yn ei herbyn, gan rai, yw,

fod y sylwedd â'r pa un ei cenhedlir, weithiau, yn cael ei gymeryd oddiar bersonau afiachus. Mae hyny yn wrthwynebiad nas gellir ei hebgor, ond yn unig trwy ochelyd cymeryd y sylwedd oddiar y cyfryw.

ARWYDDION.—Mae y sylwedd iachus a digymysg, wedi ei roddi, yn mhen pedwar neu bump diwrnod, yn cynnyrchu cornwyd bychan yn y fan y gosodwyd y sylwedd, ac yn cynnyddu yn raddol hyd y seithfed, a'r wythfed dydd. Gwelir yn eglur yn nghanol y cornwyd ddarostyngiad, neu bantle, a bydd cylch ennynawg oddiamgylch, weithiau yn eangu yn ddwy, neu dair modfedd o dryfesur. O ddeutu undeg-un o ddyddiau, y gwlybwr fydd yn y cornwyd a ddechreua dewychu, a ffurfia yn gramen dywyll. Yn y diwedd, y gramen a syrth ymaith, gan adael craith sefydlog.

FFUGIOL.—Ennyniad yr ail dydd—dim pant, neu ddarostyngiad yn y canol—yn rhedeg ei gyrfa yn ngynt na'r digymysg—ymylau annghyfartal—llawer o chwydd. Pan fyddo yn gymysg a Than Iddwf, bydd y cornwyd o ymddangosiad glas.

IMPIAD.—Yr enw yma sydd yn arwyddo y modd y cyfranogir brech y buchod. Mae yn gynnwysedig mewn arwain i mewn o dan y glasgroen ychydig o'r crawn, neu y gramen wedi ei mwydo. Mae yn ofynol bod yn ofalus am beidio brathu ond gan lleied ag y byddo modd; onidê bydd y gwaed yn cludo ymaith y sylwedd.

Gellir cadw y gramen, wedi ei selio i fynu mewn lle tywyll, am flynyddoedd. Amser yn ol, yr oedd impiad y frech wen yn beth cyffredin, o herwydd y dybiaeth fod hyny yn llinaru yr arwyddion.

TRINIAETH.—Nid yw brech y buchod ond anfynych yn gofyn meddyginiaeth—os unrhyw, cyffelyb i'r Frech Goch.

## BRECH YR IEIR. *(CHICKEN POX.)*

ARWYDDION.—Hwn sydd afiechyd tyner yn gyffredin; dechreu gyda chryndod—arwyddion twymynaidd, ysgafn—poen yn y cefn a'r pen, yn ddilynol gyda llynorod bychain, yn llawn o wlybwr o liw gwyn, pa un sydd yn cyfnewid yn raddol i liw glas, ac yn mhen tri, neu bedwar diwrnod, yn sychu i fynu ac yn gadael cènau bychain, duon.

ACHOSION.—Cynghlwyf.

TRINIAETH.—Os bydd llawer o gynhyrfiad twymynaidd, bydd yn angenrheidiol gweinyddu carthbair, yn achlysurol; mae *rhubarb* a *magnesia*, gyda y goreu, neu *castor oil*. Weithiau, mae cyfogbair yn ofynol, pan fyddo y cylla â llawer o sylwedd heintiol ynddo. I'r dyben o gadw terfyniad i'r croen, rhodder *virginia snake root*, a *saffron*. Os bydd llawer o wres, gellir rhoddi ychydig *spirit of nitre*.

---

## CERNCHWYDD. *(MUMPS.)*

ARWYDDION.—Poen ac ennyniad yn y cylchwyrnau gerglustiog *(parotid glands,)* (pa rai sydd yn gorwedd yn agos i'r glust)—mwy neu lai o dwymyn, ac weithiau, ychydig orphwyllder. Y boen, a'r chwydd, weithiau, a gynnydda fel nas gall y goddefydd ond yn brin agor, a symud ei enau. Weithiau, mae yn cael eu drosglwyddo i eirinen *(testicle)* gwrrywaid, ac i fronau benywaid. Nid yw yn beryglus, oddieithr yn yr achosion diweddaf. Nid yw yn ymosod ond unwaith, oddigerth y pryd na byddo ond un ochr yn cael effeithio ar unwaith; mae yn dueddol o ymosod ar yr ochr arall wedi hyny.

Achosion.—Cynghlwyf. Y trosglwyddiad a achosir, weithiau, trwy ddynoethiad i oerni, neu wendid mawr. Mae yn ofynol, bob amser, fod yn ofalus hynod.

Triniaeth.—Mae yn ofynol cadw yn gynes trwy yrfa yr anhwyldeb; yfed hefyd yn helaeth o ddiodydd teneuon, megys, te *balm* a *catnip*, *&c*. Os bydd y coluddion yn rhwym, gweinydder carthbair yn achlysurol, a gorchuddier y chwydd gyda chotwm. Os bydd y chwydd yn boenus, a blinderog, eneinier gyda yr enaint canlynol:—*castile soap*, un dram; *oil of sassafras*, hanner owns; *sweet oil*, un owns; *gum camphire*, tair dram; cymysger hwynt yn nghyd, ac eneinier y parth chwyddedig dair gwaith y dydd. Pan fyddo yn cael ei drosglwyddo i lawr, gweinydder gyfogbair; a phan ddarfyddo effeith hyny, gweinydder y carthbair *jalap* a *cream of tartar*. Mae yn anhawdd hynod weithiau, symud cynnwysiad y coluddion, o achos ennyniad yn y *spermatic cords;* felly mae carthbeiriau yn methu myned trwodd; y pryd hyny, gweinydder chwistrellau. Pan fyddo y coluddion wedi symud, rhodder o wyth i ddeg gronyn o'r powdr chwysbair, bob pedair, neu bump awr, hyd oni byddo chwysdarthiad helaeth wedi cymeryd lle. Gellir eneinio yr eirinen *(testicle)* gyda yr enaint a nodwyd yn flaenorol. Mae yn ofynol edrych am gadw y coluddion yn agored; gellir rhoddi carthbair bob dydd, neu bob yn ail dydd hyd oni byddo yr arwyddion twymynaidd wedi lleddfu.

---

## Y PAS. *(HOOPING COUGH.)*

Arwyddion.—Mae yn dechreu fel anwyd cyffredin, ond oddeutu diwedd y drydedd wythnos, bydd pangfeydd o beswch cynhyrfiol yn cymeryd lle, yn fynych

yn gydfynedol a swn neillduol. Mae y pesychiad yn wahanol i beswch cyffredin, nid yn unig yn ei swn, ond hefyd mae y peswchboeriad yn fwy anhawdd i'w gyfodi. Yn ystod y pangfeydd, y gwaed sydd yn rhuthro i'r gwyneb, a'r goddefydd a ymddengys fel pe byddai mewn perygl o fygu; mae y pangfeydd yn diweddu trwy gyfogiad. Mae yn aml yn parhau o chwech i wyth wythnos.—Anfynych y profa yn angeuol.

Achosion.—Cynghlwyf, pa un, gan mwyaf, sydd yn ymosod a'r blant, ac nid yw yn effeithio ond unwaith.

Triniaeth.—Gellir llinaru arwyddion yr anhwyldeb yma; ond yn gyffredin, rhaid iddo gael rhedeg ei yrfa. Mae gweinyddu cyfogbair ar y dechreu, yn tueddu yn fawr i'w linaru, a byrhau ei yrfa. Mae yn ofynol, weithiau, gweinyddu y fath gyfferi ac sydd yn lleddfu cynhyrfiad yr ysgyfaint. Mae gormodol gynhyrfiad yr ysgyfaint, nid yn unig yn flinderog, trwy achosi peswch parhaus, ond mae yn beryglus; gall achos ennyniad, neu rwygo rhai o'r gwaedlestri. I'r dyben o leddfu y cynhyrfiad, rhodder y moddion canlynol: *syrup of wild cherry bark*, un owns: *tincture of blood root*, chwarter owns; *wine of ipecacuanha*, hanner owns; *tincture lobelia*, hanner owns; *sulphate of morphine*, dau ronyn; cymysger oll yn nghyd; dogn, llonaid llwy de, lled fechan, dair neu bedair gwaith y dydd. Mewn achosion cyffredin, gellir rhoddi y meddyglyn poerbair yn achlysurol. Mae yn ofynol cadw y coluddion yn agored; mae *castor oil* yn un o'r moddion goreu at hyny. Dywed Dr. Cook, fod y *black cohosh* yn un o'r moddion goreu a ganfyddwyd erioed at leddfu yr anhwyldeb yma. Mae *tincture cohosh* yn cael ei wneuthur fel y canlyn:—*Rum*, un peint; *black cohosh*, dwy owns; bydded iddo sefyll am ddeg diwrnod; dogn i blentyn blwydd oed, o undeg-pump i ddauddeg dyferyn, mewn dwfr a siwgr, dair neu bedair gwaith y dydd.

## GERIWST ASIAIDD. *(ASIATIC CHOLERA.)*

Yr haint farwol a'r ymdaenol yma, a ymddangosodd gyntaf, yn yr India, yn y flwyddyn 1817, ac a ledaenodd yn Orllewinol, nes cyrhaeddodd America, yn y flwyddyn 1832. Mae yn dueddol o hànu mewn parthau lle y darfu iddo yn flaenorol ei gofwyo.

Arwyddion.—Mae weithiau yn dechreu gyda lludded, a theimlad marwaidd anarferol—twrf ag anesmwythder yn y coluddion—arloesygiad—ychydig o ryddni, a thueddiad i ymgarthu yn fynych—y tafod yn orchuddedig yn y canol, ac yn goch at y blaen a'r ymylau. Yn fynych, mae yr arwyddion rhagrybuddiol hyn yn parhau am nifer o ddyddiau. Ond weithiau, maent yn ddilynedig âg arwyddion mwy angerddol, yn nghyfnod ychydig oriau—megys poenau dirdynus yn y cylla, a'r coluddion, a'r pen—cyfogiad âg ymgarthiad gwastadol, cynnwysedig o wlybwr dyfrllyd, cyffelyb i ddwfr *rice*—syched angerddol—cramp yn yr aelodau, &c. Ac os na bydd i adferiad gymeryd lle, (yn gydfynedol a hyny, yn gyffredin, mae gwrthweithrediad twymynaidd, ag ymgarthion geriaidd,) y croen fydd yn myned yn oer, crebychlyd, o liw glasaidd, ac yn orchuddedig gan chwys glydiog—yna, y gwaedgur a gollir yn yr arddwrn—yr ewinedd yn leision—y llygaid yn suddedig, a marwolaeth, heb amharu grym y meddwl, a derfyna yr olygfa.

Achosion. Y gwreiddiol achos yw ansawdd neillduol yr awyrgylch; yn fwyaf cyffredinol mewn lleoedd poblogaidd. Ymddengys fod yr awyrgylch yn ddiffygiol o surbair *(oxygen,)* ac o achos hyny, nid yw y gwaed yn cael ei buro; mae y creisin yn y gwaed, (am nad oes digon o surbair yn yr awyrgylch) yn cael aros, heb ei ddadgyfansoddi; felly yn gwenwyno y gwaed, ac yn

difa ei briodoledd gylchredol, a thrwy hyny mae yn croni yn y gwythenau tumewnol, ac yn methu cyrhaedd yr arwyneb. Hyny yw un o'r achosion nad oes dim lleisw yn cael ei ddidol yn yr anhwyldeb yma, gan nad yw y gwaed yn cylchredeg, nid yw yn myned trwy yr arenau; a'r hyn sydd yn myned mae yn rhy dew, ac felly mae holl hylifoedd y corff yn cael eu harllwys i'r coluddion. Achosion ereill yw bwyta ffrwythydd anaeddfed, a'r rhai hyny yn eplesu yn y cylla, ac yn cenhedlu suredd gwenwynol, a hwnw, yn cynhyrfu ac anfoddogi y coluddion. Mae yn ofynol bod yn ofalus hynod, pan fyddo yr anhwyldeb yma yn hànu, i ymatal rhag bwyta un math o lysiau, na ffrwythydd gleision, nac ymarfer yfed unrhyw fath o wirodydd heplesawl. Mae y cyfryw ag sydd yn arfer llawer o wirod, yn cynnwys *alcohol*, yn fwy tueddol i gael eu cymeryd gan y Geriwst, am fod yfed diodydd meddwol yn cynyddu y creisin yn y gwaed; ac nid oes ond ychydig o'r cyfryw yn cael adferiad. Mae ofn hefyd, yn achos cyffredin o'r Geriwst. Mae ofn yn cynnyrchu effeithiau cyffelyb ar y cyfansoddiad ag sydd yn bodoli yn y Geriwst.

Triniaeth.—Yr hyn sydd angenrheidiol i'w wneuthur, yn nghyfnod yr arwyddion rhagrybuddiol, sydd gynnwysedig yn nrhiniaeth darymred (*diarrhœa*) cyffredin. Ni ddylid, un amser, oddef a gadael i'r arwyddion hyny fyned yn mlaen, yn enwedig pan fyddo y Geriwst Asiaidd yn hànu. Pan fyddo amheuaeth fod un wedi cael ei gymeryd gan yr anhwyldeb yma, bydded iddo fyned i'w wely, a rhodder costrelau â dwfr poeth yn ddynt wrth ei draed, a'i ochreu, a phlastr o fwstard cryf ar y cylla, a'r bol, a gweinydder y cyfferi canlynol:—cymerer *ipecacuanha*, llonaid llwy de lled fechan; *bayberry bark*, llonaid llwy de; *cayenne pepper*, dwy lonaid llwy de; cymysger oll yn nghyd, a rhodder hanner

llonaid llwy de bob undeg-pump mynyd, hyd oni byddo gwrthweithrediad yn cymeryd lle yn y cylla, a'r parthau cyfagos. Yfer yn helaeth, ar yr un pryd, o de *camomile*, *&c.* Bydd y moddion hyn yn dueddol o achosi cyfogiad, yr hyn i raddau sydd yn angenrheidiol i gludo ymaith y sylwedd heintiol, pa un sydd yn y cylla. Ond gweinyddu y moddion blaenorol cyn i gyfogiad gymeryd lle, mae yn sicr o atal ymgyrch yr anhwyldeb.

Mor fuan ag y byddo modd, wedi cael ychydig o weithrediad yn y cylla, gweinydder y moddion canlynol i'r dyben o ddadgyfansoddi y sylweddau sydd yn cynhyrfu, ac anfoddogi y coluddion:—cymerer *rhubarb*, dwy lonaid llwy de; *salaratus*, un llonaid llwy de; dail *peppermint*, llonaid llwy de; *cinnamon* goreu, llonaid llwy de; *peruvian bark*, hanner owns; *cloves*, un owns; oll wedi eu malu, a rhodder arnynt un peint o ddwfr berwedig, a bydded iddynt sefyll am un awr, melyser gyda siwgr gwyn; a phan oero, ychwaneger ato chwarter peint o'r brandy goreu; dogn, llonaid llwy fwrdd bob hanner awr, fel y byddo yr arwyddion. Gellir rhoddi o undeg-pump hyd yn ddauddeg dyferyn o *laudanum* yn mhob dogn os bydd cyfogiad ag ymgarthiad mynych yn cymeryd lle; ond rhaid gofalu i beidio rhoddi gormod o'r *laudanum*. Mae y moddion hyn, yn gyffredin, yn cyfnewid ansawdd yr ymgarthion, ac yn atal y cyfogiad. Pan ganfyddir fod hyny wedi cyfnewid, ni bydd yn angenrheidiol eu rhoddi gan amled, ond yn unig ddigon i gadw y coluddion yn dymherus. Mae yn anhebgorol angenrheidiol ymdrechu cynnyrchu chwysdarthiad; mae hyny o gymaint pwys, fel nad oes ond gobaith gwan am fywyd y goddefydd heb hyny.

Os bydd y cramp yn yr aelodau, rhwbier hwynt gyda gwlanen wedi ei gwlychu mewn brandy poeth, wedi berwi *cayenne pepper* ynddo; mae hyny, wrth ei

gymhwyso at barth y cylla, a'r ymysgaroedd, yn hynod o ddefnyddiol. Os bydd yr arwyddion yn parhau yn angerddol, wedi dilyn y driniaeth flaenorol am ysbaid o amser, megys cyfogiad, ag ymgarthiad mynych—cramp yn y cylla a'r coluddion, rhodder y moddion canlynol:—*tincture of opium*, un dram; *oil of cinnamon*, a *oil of peppermint*, un dram o bob un; cymysger oll yn nghyd, a rhodder tri-deg, neu bedwar-deg dyferyn o hono ar lonaid llwy fwrdd o frandy a siwgr, bob awr neu ddwy, hyd oni byddo yr arwyddion angerddol wedi lleddfu; ar yr un pryd, bydded i'r arwyneb gael ei olchi gyda brandy a *cayenne pepper*, bob awr neu ddwy. Mae y moddion, a'r driniaeth yma, yn tueddu i adferyd gwres naturiol y corff, a chwalu cyd-dyriad y gwaed yn du-fewnol. Gellir rhoddi y powdr chwysbarol pan fyddo y cylla wedi sefydlu.

Mae y driniaeth flaenorol yn gyfaddas yn yr orsaf gyntaf, a'r ail. Yn y rhan fwyaf o achosion, mae yr ymgarthiadau, a'r crampiau yn ymatal, a'r galluoedd bywydol yn wanaidd eithaf. y gwynebpryd yn grebach-edig a rhychog, yn rhoddi i'r goddefydd ymddangosiad trwmfrydus a gresynol. Yn y sefyllfa hyny rhodder y moddion canlynol:—*tincture valerian, tincture lobelia*, ac *aromatic tincture of ammonia*, llonaid llwy de o bob un; *compound spirit of lavender, spirit of camphire*, hanner owns o bob un; cymysger oll yn nghyd a rhodd-er o un i ddwy lonaid llwy de mewn ychydig win, neu frandy a dwfr, bob undeg-pump neu ddau-ddeg mynyd, hyd oni byddo y goddefydd wedi cynhesu, a chwys-darthiad wedi cymeryd lle.

Os bydd arwyddion pydrol yn ymddangos, cymerer llonaid llwy de o *cayenne pepper*; llonaid llwy fwrdd o halen cyffredin; gwinegr, hanner llonaid cwpan de; rhodder ias o ferw iddo: a phan oero, rhodder llonaid llwy de bob awr. Nid ydwyf yn ystyried fod yn angen-

rheidiol manylu, mewn perthynas i driniaeth yr orsaf olaf, o herwydd bydd yn well ymofyn â meddyg profiadol; ac yn gyffredin, ceir digon o amser cyn i'r orsaf hyny gymeryd lle. Mae yn ofynol bod yn ofalus, ac ymatal cymeryd carthbeiriau cryfion yn amser y Geriwst Asiaidd, a phob amser, pan fyddo yr hîn yn wresog. Cafodd llawer eu cymeryd â'r darymred ar ol cymeryd y *Morrison pills, &c.*

---

## GWAEDGLWYF. *(DYSENTERY.)*

Hwn sydd gyffroad, ac ennyniad yn y gwythreden ymborthol (*alimentary canal;*) yn arferol o fod yn nodweddadwy gan arloesygiad—poen—twymyn, a chwant i ymgarth (*tenesmus,*) gydag ymgarthiadau drwgsawrus, a gwaedlyd. Mae yn gydfynedol â'r anhwyldeb yma, fwy neu lai o dwymyn—weithiau mae yn gynghlwyfus.

Arwyddion.—Mae weithiau, yn dechreu gyda choll chwant bwyd—arloesygiad a chyfogiad—yn ddylynedig gan boenau crafangllyd yn y coluddion, a mynych a phoenus ymgarthiad. Nid ymadewir, ond anfynych, â dim ond llysnafedd, yr hyn sydd yn aml, yn gymysgedig â gwaed—ymdrech anarferol i ymarllwys—yn gydfynedol â phoen dirfawr yn mharth isaf y coluddion. Weithiau, mae yr ymgarth yn llymsur, ac yn tebygoli i olchion, neu heli *beef;* ac yn fynych, mae yn waed pur. Nis ymadawir âg ymgarth naturiol ond anfynych; a phan y gwneir, bydd yn beleni caledion, eu mynediad allan yn achosi poen dirfawr, yn ganlynol âg ychydig esmywthder. Bydd tuedd mynych i ymgarth, ar ymdrechiadau yn anllwyddianus. Weithiau, mae twymyn angerddol, yn enwedig yn ymosod yn mhen diwrnod neu ddau.

Ffafriol.—Y dwymyn yn lleddfu yn mhen ychydig ddyddiau—yr ymgarth o ymddangosiad geriaidd, ac ymddangosiad iachusol ereill gyd â'r ymgarthiadau.

Anffafriol.—Cynhyrfiad mawr, a thynerwch yn y cylla, a'r ymysgaroedd—ymiseliad y nerth—ymgarth drwgsawrus—chwydd yn yr ymysgaroedd—twymyn isel, angerddol—ymgarthiadau teneu, o liw cochddu—yr aelodau yn oerion—gwaedgur gwan, ac afreolaidd—yr eigian, a chwys oer yn tori allan yn ddyferion ar amrywiol barthau y corff, ydynt arwyddion penderfynol fod y diwedd gerllaw.

Achosion.—Ymddengys fod achos yr anhwyldeb yma, i raddau, yn ymddibynu ar sefyllfa neillduol yr awyrgylch. Mae yn hànu, fynychaf, ar hîn boeth, ac mewn hinsoddau poethion. Mae un peth ag sydd yn tueddu i luddias y chwysdarthiad, yn dueddol o achosi yr anhwyldeb yma. Pan fyddo y chwysdarthiad wedi ei atal mae y gorlifion heintiol yn aros yn y cylchrediad, yn gymysg â'r gwaed, ac yn cael ei fwrw i'r coluddion; yno, yn achosi cynhyrfiad, ac ennyniad, a'r holl argoelion perthynol yr afiechyd. Hefyd, ymborth afiachus—awyr y nôs—gwelyau lleithion—dillad gwlybion, &c. Weithiau, ymddengys yn gynghlwyfus mewn carchardai, gwersylloedd, ysbyttai, a llongau. Mae cyfnewidiad disymwth yr hîn, awyr laith, yn rhagdueddiad yr anhwyldeb yma. Mae geri, a sylweddau estronol ereill, yn y cylla, yn myned yn bydrol a heintus, yn ysu a chynhyrfu y memrwn llysnafeddog, yn achos cyffredin o'r gwaedglwyf.

Yr oedd Sydenham yn ystyried y gwaedglwyf yn dwymyn y tymhor, neu o'i rhywogaeth ei hun, wedi dymchwelyd i'r coluddion.—'*Febrem cum esse sui scilicet generis, in intestina introversam.*'

Triniaeth.—1. Mae yn ofynol diwygio sarugrwydd

yr hylifoedd, (yr hyn sydd achos cynhyrfiol yr anhwyldeb yma) a glanhau y gwythreden ymborthol (*alimentary canal.*)

2. Llinaru yr arwyddion diried, trwy leddfu yr anfoddogiad—y dwymyn a'r crampiau.

3. Gorchuddio y parthau dolurus a chynhyrfiol o'r coluddion gyda chyfferi llysnafeddog, chwistrellau, &c.

Yn nechreuad y gwaedglwyf, mae yn ofynol gweinyddu y fath gyfferi a fyddo yn glanhau y cylla a'r coluddion—yn argau ac adferyd eu swyddogaeth iachusol. Mae yn rhaid gochel gweinyddu carthbeiriau cryfion. Os canfyddir fod llawer o sylwedd heintiol yn y cylla, gellir gweinyddu cyfogbair yn y dechreu. Neu, cymerer *turkey rhubarb*, llonaid llwy de; *magnesia*, llonaid llwy de; siwgr gwyn, llonaid llwy de; cymysger oll yn nghyd, mewn hanner llonaid cwpan de o ddwfr oer, a chymerer yn un dogn. Os na chanfyddir fod hyn yn effeithio fel carthbair, yn mhen ychydig oriau, bydd yn ofynol ychwanegu y dognau, hyd oni byddo cynnwysiad y coluddion wedi ei arllwys, yr hyn sydd anhebgorol angenrheidiol. Gellir arfer *castor oil*, ond nid yw mor effeithiol, yn un peth, am nad oes ynddo briodoledd argaeol; a pheth arall, am nad oes *magnesia* gydag ef, yn cynnwys *alkaline*, i'r dyben o ddadgyfansoddi y suredd, sydd yn fynych yn y cylla a'r coluddion yn achosi y cynhyrfiad.

Pan fyddo y coluddion wedi cael eu gwaghau, gweinydder y powdr chwysbair, hanner llonaid llwy de bob tair neu bedair awr; ac os bydd y boen yn fawr, a mynych dueddiad i ymgarth, rhodder wythfed ran o ronyn o *sulphate of morphine* yn mhob dogn. Bydded i'r goddefydd, yn y cyfamser, yfed te *slippery elm*, dwfr *gum arabic*, *&c.* Os bydd poen dirfawr yn yr ymysgaroedd, rhodder plastr o fwstard dros y bol, a'r cylla; gellir mynychu hyny un amser os bydd y boen

yn dychwelyd, neu gellir cymhwyso twymolchiadau. Os bydd poen mawr yn parhau yn mharth isaf y coluddion, gellir gweinyddu chwistrellau o'r moddion canlynol:—dwfr *slippery elm*, un peint; llaeth, un peint; *olive oil*, llonaid gwinwydr; *molasses*, hanner peint; halen cyffredin, llonaid llwy de; cymysger, a rhodder yn dwym. Ac os bydd mynych ymgais i ymgarth, a dirfawr wasgiad i lawr, rhodder llonaid llwy de o *laudanum* yn mhob chwistrelliad.

Bydd yn angenrheidiol mynychu y carthbair bob dydd, neu bob yn ail dydd i'r eithaf, hyd oni byddo ansawdd yr ymgarth yn ymddangos yn naturiol. Mae yn gyffredin, yn y gwaedglwyf, yn anhawdd anarferol symud cynnwysiad y coluddion; er, fe allai, bydd y goddefydd yn gorfod ymgarth bob deg mynyd, er hyny ceir gweled yr ymgarth naturiol yn dyfod yn beleni caledion, wedi gweinyddu carthbair. Os bydd y boen yn fawr, yn mharth isaf y coluddion, wedi gweinyddu y chwistrellau, rhodder plastr o fwstard y tu ol, gogyfer a'r parth isaf y coluddion. Bydd yn ofynol mynychu y carthbair yn achlysurol, i'r dyben o gludo y sylweddau heintiol, sydd dueddol o gasglu yn y coluddion. Mae carthbair, yn gyffredin, yn mwyhau y boen ar y pryd, ond pan ddarfyddo yr effeith, mae y goddefydd, yn gyffredin, yn cael esmwythad, a'r ymgarthiadau yn anamlach. Gellir, yn mhen ychydig o ddyddiau, roddi y moddion canlynol:—*peruvian bark*, un owns; *cinnamon*, hanner owns; *cloves*, chwarter owns; *nutmeg*, chwarter owns; a dwy lonaid llwy de o *slippery elm*, wedi ei falu. Berwer hwynt oll yn nghyd, mewn dau beint o ddwfr, nes y byddo yn agos i'r hanner, yna hidler, a melyser yn dda gyda siwgr gwyn, a phan oero, ychwaneger ato un peint o *port wine* da. Bydded i'r goddefydd gymeryd llonaid gwin-wydr dair neu bedair gwaith y dydd, hyd oni byddo y coluddion wedi cryf-

hau. Pan fyddir yn cymeryd y moddion yma, bydd yn ofynol cymeryd carthbair yn achlysurol. Mae *castor oil* yn ateb y dyben gystal, neu yn well, yn yr orsaf olaf o'r gwaedglwyf. Mae yn ofynol, yn gyffredin, trwy gyfnod yr anhwyldeb, gymeryd rhyw gyfferi gwrthsur yn lled fynych. Mae *salaratus* yn un o'r moddion goreu—llonaid llwy de mewn te *spearmint*, lonaid cwpan te, a'i felysu yn dda gyda siwgr gwyn. Gellir cymeryd llonaid llwy de Ledair neu bump gwaith y dydd. Y feddyginiaeth olaf a gymeradwyai Dr. Perkins, yn y gwaedglwyf, yw gwinegr da a chymaint o halen a ellir ddadlaith ynddo. Rhodder un llonaid llwy fwrdd o hono mewn pedair llonaid llwy fwrdd o ddwfr berwedig, a bydded i'r goddefydd ei gymeryd o fesur llonaid llwy fwrdd, gan boethed, ac amled ag y byddo bossibl. Dywedir fod hyn yn hynod o effeithiol yn yr orsaf olaf, pan fyddo yr anhwyldeb yn ystyfnig.

Trefniad Ymborth, &c.—Mae meithriniaeth yn anhebgorol angenrheidiol yn yr anhwyldeb. Rhaid cludo ymaith yr ymgarthion a'u claddu yn y ddaear. Newidier y dillad yn aml, a bydded i aweliad gael myned trwy yr ystafell. Mae yn ofynol bod yn ofalus hynod mewn perthynas i'r ymborth; mae y canlynol yn dda; llonaid llwy fwrdd o flawd, cymysger gyda dwfr oer yn lled deneu, a berwer am ddeg mynyd mewn peint o laeth; rhodder ynddo ychydig o *cinnamon*, a melyser gyda siwgr gwyn, a bydded i'r goddefydd gymeryd cymaint a allo yn nghyfnod y dydd. Mae bara wedi ei grasu, a'i rhoddi mewn dwfr oer, yn ddiod dda a maethlon. Hefyd blawd *rice* wedi ei ysgaldanu a dwfr poeth, wedi hyny ei ferwi mewn llaeth, sydd hynod dda yn anhwylderau y coluddion.

## TAN IDDWF HEINTIOL. *(EPIDEMIC ERYSIPELAS.)*

Profodd yr anhwyldeb yma yn hynod o angeuol, mewn amrywiol barthau o'r Unol Daleithau, yn ystod ychydig o flynyddoedd yn ol.

Arwyddion.—Syrthni disymwth—twymyn, a phoen —chwydd ac ennyniad yn ymosod ar ryw barth o'r corff; ac mewn llawer o achosion, madredd a marwolaeth yn mhen ychydig oriau. Mae yn fynych yn ymosod ar y gwddf, a'r genau, oddiwrth hyny cafodd yr enw 'tafod du' *(black tongue.)* Yn gyffredin, mae yr arwyddion ar y cyntaf o nodweddiad ennynol, ond yn cydsyrthio i'r *typhus*, ac ansoddion angerddol ereill.

Achosion.—Priodoledd neillduol, ac hyd yn hyn anwybodol, yn yr awyrgylch. Yr unig foddion i'w ochelyd yw ymadael a'r rhandir heintiol.

Triniaeth.—Mae yn ofynol trin yr anhwyldeb yma, o'r dechreu, fel twymyn ennynol gyffredin. Gellir gweinyddu cyfogbair, os bydd y cylla yn gynhyrfiol, ac yn llawn o sylwedd heintiol. Wedi hyny rhodder y carthbair *jalap* a *cream of tartar*, ddigon i gynnyrchu ymgarthiad helaeth. A phan ddarfyddo effaith y carthbair, rhodder dau ronyn o *ipecacuanha*, ac un gronyn o *nitrate of potasse*, bob tair neu bedair awr, hyd oni byddo y croen yn wlyddaidd; yfer yn helaeth, ar yr un pryd, o de *camomile*. Gellir rhoddi deg gronyn o'r powdr chwysbair amser gwely.

Os bydd chwydd poeth, a phoenus iawn, yn unrhyw barth, ac heb dueddiad i fadredd, golcher â'r moddion canlynol:—*borax* un dram; *acetate of lead*, hanner dram; maler, a rhodder mewn un peint o ddwfr gwlaw. Bydded i gadachau gael eu gwlychu ynddo, a chymhwyser hwynt at y parth. Os bydd tueddiad i fadredd,

rhodder sugaethen cynnwysedig o furym a blawd *corn*. Mae y moddion canlynol yn hynod o effeithiol; cymerer *celendine*, dwy owns; *irish whiskey*, neu *whiskey* cyffredin, un peint; rhodder y *celendine* yn y *whiskey*, poether, ac wedi iddo sefyll am ychydig amser, golcher y parth ag ef, dair neu bedair gwaith y dydd. Mae yn ymddibynu mwy ar foddion tufewnol, yn yr anhwyldeb yma, nac un cymhwysiad allanol. Y dosbarth mwyaf angenrheidiol yw y carthbeiriau, a'r chwysbeiriau. Os bydd arwyddion o'r *typhus* yn ymddangos, bydd yn ofynol mabwysiadu y driniaeth a nodwyd o dan y pen hyny. Os bydd dolur yn y gwddf, arferer y gwddfolch canlynol: Gwinegr da, llonaid cwpan de; *cayenne pepper*, llonaid llwy de; halen, llonaid llwy fwrdd; *carbonate of soda*, llonaid llwy de; cymysger oll yn nghyd, a golcher y gwddf yn dda oddifewn, dair neu bedair gwaith y dydd, a rhodder plastr o fwstard oddiallan.

---

## ANNWYDHAINT. *(EPIDEMIC INFLUENZA.)*

Yr afiechyd hwn a enwir gan y Ffrangcod, *la grippe*, sydd amrywiol o weithiau wedi ymdeithio tros Ewrope ac America, ac yn nghyfnod y flwyddyn 1842 goresgynodd yr holl fyd gwareiddiedig.

Arwyddion.—Twymyn a chur yn y pen, yn gydfynedol ac ystrewian—crygni—peswch—dylifiad gwastadol o'r ffroenau. Mae ei effeith yn parhau o ddwy i dair wythnos. Nid yw ond anfynych yn beryglus, ond cymeryd gofal o'r dechreu, oddigerth i'r oedranus, a'r cyfryw ag sydd a rhagdueddiad i'r darfodedigaeth ysgyfeinaidd.

Triniaeth.—Mae yr agerfaddon yn un o'r moddion

mwyaf effeithiol at wellhau yr anhwyldeb. Gellir ei arfer bob yn ail dydd, gan faddio y traed unwaith neu ddwy y dydd yn y cyfamser. Yfer hefyd yn helaeth o de *bonset*, *hoarhound*, neu ryw lysiau, chwysbarol, hyd oni byddo y chwysdarthiad wedi ei adferyd. Un llonaid llwy de o *tincture lobelia*, neu y melysnodd *ipecacuanha*, a ellir ei gymeryd bob boreu. Ac os bydd y peswch yn flinderog, cymerer llonaid llwy de o felysnodd *white poppy*, bump gwaith neu chwech yn nghyfnod y dydd. Bydd yn angenrheidiol cymeryd carthbair yn achlysurol. Mae y moddion canlynol yn hynod o effeithiol, a rhinweddol:—yr un faint o ddwfr a gwinegr da, wedi ei felysu gyda mêl, neu siwgr; mewn llonaid llwy de o hono, rhodder agos i lonaid llwy de o *cayenne pepper*, a chymerer yn un dogn. Y mae yn rhyddhau y peswch rhagblaen; ond cymeryd dogn o hono amser gwely, mae yn esmwythau y goddefydd fel y gallo orphwys ar hyd y nos. Gellir ei gymeryd pryd bynag y byddo y peswch yn flinderog. Yr ymborth ddyleu fod yn ysgafn, ac o fesur cymedrol. Ymborth gwlybyrog yw y goreu.

## DARFODEDIGAETH YSGYFEINAIDD. *(PULMONARY CONSUMPTION.)*

Arwyddion.—Mae yn arferol o ddechreu gyda pheswch sych, a rhygnyllyd—-y dynoethiad lleiaf i oerfel yn ei gynnyddu—poen a chyfyngder yn rhyw barth o'r ddwyfron, yn enwedig wrth gymeryd anadliad llawn—ymegnidd yn gwneuthur yr anhawsder i anadlu yn fwy—y gwyneb yn gwrido ar ol bwyta—gwyndra neillduol y llygaid, cyffelyb i liw tufewnol cragen wystrys. Fel mae yr afiechyd yn cynnyddu, y

peswch sydd yn dyfod yn fwy blinderog, yn enwedig yr hwyr a'r boreu—y peswch-boeriad yn cynnyddu ac yn dyfod yn fwy trwchus, hyd oni byddo o ymddangosiad crawnllyd, gwyrddaidd. Chwysiad gwanychol a ddygwydd y nos—weithiau, poen llym a deimlir yn y ddwyfron a'r ochrau—llosgfeydd yn y dwylaw a'r traed—nychdod cyffredinol—y llygaid fyddant yn suddedig, ond eto treiddgar, a mynegiadol. Yr anadliad yn gyflym, a byr—gwaedgur yn wanaidd, ac uwchlaw cant dau-ddeg bob mynyd—a lloeren goch, wridog, a ganfyddir yn aml ar y foch.

Yn nechreuad y Darfodedigaeth, mae y gwaedgur agos yn naturiol; fe allai, ychydig feddalach, llai, a chyflymach nag arferol, ond pan fyddo yr arwyddion a nodwyd yn bodoli am yspaid o amser, mae yn llawn, caled, a chyflym. At yr hwyr, mae yr arwyddion yn cynnyddu, yr anadliad yn fwy anhawdd, a llafurus, ac y mae y dwymyn yn raddol yn ymgymeryd ffurf wastadol. Mae y dwymyn yn cynnyddu at ganol dydd, ac yn lleddfu o ddeutu pump o'r gloch prydnawn. Ond mae wedi hyny yn cynnyddu yn raddol hyd o ddeutu hanner nôs, ac oddeutu dau o'r gloch y boreu, mae yn dechreu llaesu, ac felly yn parhau i leddfu yn raddol fel mae y dydd yn agoshau. Yn nghyfnod ymgyrch y dwymyn, mae y goddefydd yn hynod o deimladol i oerder yr awyr; yr awel leiaf yn achosi rhyndod, pan fyddo ei groen ar yr un pryd yn annaturiol o boeth. Mae y dwymyn, yn gyffredin, yn cynnyddu mwy y prydnawn nac un amser arall. O ddechreu ymddangosiad y dwymyn wastadol *(hectic fever,)* mae y lleisw yn lliwiedig anarferol, ac yn gwaelodi llawer o waddod coch, eisinog.

Mae chwant bwyd, y rhan amlaf, yn lled dda, a'r tafod yn ymddangos yn lân, ac arferol o wlyddaidd, ac yn gyffredin, nid oes dim syched anarferol. Mae un ar-

wydd neillduol yn gydfynedol a'r Darfodedigaeth, sef, fod y cyfryw ag sydd yn goddef o dano, ond anfynych, yn dirnad nac yn wybodus o'r perygl. Ac nid ydyw yn beth annghyffredin, fod y rhai sydd yn goddef o dan y gorsafion olaf, yn gwenieithio iddynt eu hunain adferiad buan, a ffurfio amcanion hyfrydawl oddiar y gwag-obaith hyny. Tua diwedd yr orsaf olaf o'r Darfodedigaeth, ymddengys chwydd dyfrglwyfus yn y coesau a'r traed—darymred blinderog, a gwanychol—y safn yn ddolurus—y llais yn methu—darlun y gwynebpryd yn gelaineddog—ac wedi yspaid o amser, yn amrywio o wythnosau i flynyddoedd, angeu fydd yn rhoddi terfyn ar yr olygfa.

Y cyfryw ydyw arwyddion y Darfodedigaeth oddfynol *(tubercular;)* ond y mae amrywiol rywogaethau o hono, a therfyniad y cwbl sydd yn lled gyffelyb. Un sydd yn cael ei achosi gan anfoddogiad, neu gynhyrfiad yn y beuant *(larynx;)* arall oddiwrth weliau yn yr ysgyfaint: arall oddiwrth ennyniad yn memrwn y ddwyfron *(pleura,)* weithiau yn cael ei achosi gan dywalltiad dwfr i geudod y ddwyfron.

Y rhywogaeth arall, a'r nesaf at y mwyaf cyffredin, a achosir gan y gyddfwst (*bronchitis*) o hir barhad, neu ennyniad parhaol yn mhibellau yr anadl, a phibellau y gwddf, a enwir y darfodedigaeth penddyferol *(catarrhal.)* Mae yn nodweddiadol oddiwrth yr oddfynol, trwy fod y gwynebpryd yn fwy gwelw, a'r gwefusau o wawr lâs, teimlad dolurus yn mharth uchaf y ddwyfron, a theimlad oerfelog yn y dechreu, hefyd, y peswch-boeriad yn fwy rhydd, ac yn cynnwys cyfran fawr o lysnafedd tryloyw, neu ewynog. Mae yn fynych yn gydfynedol a'r oddfynol, ac hefyd gwalldreuliad, anhwyldeb yr afu, &c. Y crawn, neu y poer, sydd yn deilliaw o'r oddfynol, a suddant mewn dwfr, yn enwedig pan ei rhyddheir oddiwrth lysnafedd.

Mae y Darfodedigaeth Ysgyfeinaidd yn nodweddiadwy gan deneuhad—-gwendid—-peswch—-twymyn wastadol, a pheswch-boeriad crawnllyd. Mae rhai awduron yn rhifo, neu yn ei ddosbarthu, i drideg o rhywogaethau, ond y mae hyny yn afreidiol i ddybenion ymarferiadol.

ACHOSION.—Yr achos mwyaf uniongyrchol y Darfodedigaeth, yw ffurfiad oddfynau, neu linorod madreddog yn yr ysgyfaint, mewn ffurf o delpynau gwynion, o amrywiol faintioli, pa rai sydd yn aeddfedu ac yn arllwys crawn. Meddylir eu bod o'r un natur a'r telpynau celyd y manwynion *(scroffula.)*

Yr achos mwyaf uniongyrchol o'r Darfodedigaeth penddyferol, yw ennyniad yn y memrwn llysnafeddog yr ysgyfaint, a diffyg gweithrediad y croen, a thrwy hyny, mae penderfyniad y chwysdarth, a hylifoedd ereill, i'r ysgyfaint.

Yr achosion ereill o'r Darfodedigaeth, yw rhagdueddiad neillduol yn y cyfansoddiad—dynoethiad i oerfel—gwisgoedd tynion—anadlu gronynau llychlyd—hinsawdd oer—gwenwyn, a phob peth gwanychol. Mae rhagdueddiad etifeddol, megys dull neillduol y corff, a adnabyddir trwy y gwddf hir—ysgwyddau crogedig—dwyfron gyfyng a gwastad, ardymher manwynog, a adnabyddir trwy fod y croen yn wyn, a gloyw—gwallt murain—gwynebpryd rhosynaidd, tyner—gwythenau mawrion—gwefusau uchaf tewion—llais gwanaidd—a syniad, neu deimladrwydd neillduol y corff a'r meddwl.

Mae y rhai canlynol yn aml fel prif achosion o'r Darfodedigaeth; sef, awyr gaethiwus, ac anmhur—nwydau angherddol—-ymegniad, a chyffroad y meddwl; megys tristwch—siomedigaeth—pryder—ymroad dirfawr i efrydiaeth, heb gymeryd digonedd o ymarferiad yn yr awyr agored—colli y cwsg—yfed diodydd a gwirod meddwol—ymgarth gormodol, megys y darymred—

y dyfrlif—cywestach—y gorlif gwyn *(fluor albus,)* ac arllwysiad gormodol o'r misglwyf. Achos arall o'r anhwyldeb yma, yw ymarferiad eisteddol annghymedrol gwrrywaid a benywaid. Achos cyffredin o'r Darfodedigaeth, yw y dull y mae personau yn cael eu trin gan feddygon pan fyddant yn cael eu cymeryd gan beswch, a phoen yn y ddwyfron. Fe ddaw y *doctor*, a gollwng waed arnynt, wedi hyny, *mercury*, a *salts*, hyd oni chynnyrchir poerlifiant. Medd y Dr. Smith, 'Nid wyf yn meddwl, fod un dyn iach ar y ddaear a all fyned trwy y driniaeth yma, heb fyned i'w wely yn glaf.'

Mae yn well i rai iach, ochelyd myned i gysgu gyda y rhai sydd yn glaf o'r Darfodedigaeth. Profwyd yn fynych, fod yr afiechyd yn drosglwyddedig, o'r naill i'r llall.

Hanes a ffyniant yr anhwyldeb.—Mae yr afiechyd yma wedi bod yn ffynu yn helaeth o amser boreuaf hanesyddiaeth, hyd yr amser presenol; ac y mae wedi ysgubo mwy oddiar y ddaear nac y cleddyf, a newyn. Yn yr holl hinsoddau Gogleddol, mae yn achosi difrod arswydus. Y mae un awdwr yn Lloegr, yn barnu fod o boblogaeth undeg-un miliwn, gan mil yn marw o'r darfodedigaeth. Mae yr enwog Dr. Beach, yn barnu fod un rhan o dair, yn y wlad yma, yn marw o achos anhwylderau ysgyfeinaidd. Mae hyn yn dangos, nid yn unig ffyniant yr afiechyd, ond hefyd aneffeithioldeb yr amrywiol ddull ei trinir, er fod y wlad wedi ei gorlenwi gan gyfareddau ymffrostgar. Ac y mae yn echrydus, heblaw yn gywilydd i'r awdurdodau, fod y werin yn cael eu twyllo i'r fath raddau. Ac y mae yn ffaith mae y dosbarth cyffredin sydd yn gwneuthur defnydd o'r *quack medicines*.

Iacholrwydd y Darfodedigaeth.—Mae y rhan fwyaf, yn ystyried nad yw yn ddichonadwy gwellau y Darfodedigaeth Ysgyfeinaidd; ac nid oes dim yn fwy

cyffredin, na phan fyddo un wedi ei gymeryd gan yr anhwyldeb, na ei roddi i fynu i angeu rhagllaw. Ond ni ddylid dyfod i'r penderfyniad hyny mor fyrbwyll, o herwydd mae amrywiol engraifftiau profedig, fod yr afiechyd wedi cael eu hollol wellhau. Mae un awdwr yn rhoddi hanes pedwar-deg a adferwyd i gyflawn iechyd. Medd Dr. Beach, 'Buais yn gweini i amrywiol bersonau yn yr orsaf sefydlog o'r afiechyd yn ol pob arwyddion, yn gwellau wedi hyny, ac yn mwynhau iechyd da. Yn wir, mae tu hwnt i bob dadl, fod yr ysgyfaint yn adferyd oddiwrth afiechyd, yr un modd a rhyw beiriant arall, ond nid mor fynych, os bydd i alluoedd natur fod yn ddigonol i ddwyn oddiamgylch weithrediad iachusol. Mae hyny yn dangos, y priodoldeb o ddylyn triniaeth addas, a rhesymol. Heblaw hyny, ein dyledswydd yw llinaru angerdd afiechyd pan na ellir ei wellhau, hyd yn nod yr anhwylderau mwyaf adwythig. Y ffaith, fod creithiau wedi cael eu darganfod yn ysgyfaint y cyfryw a wellawyd o'r darfodedigaeth, ac a fuant feirw o ryw afiechyd arall, sydd yn profi tu hwnt i bob amheuaeth, fod yr anhwyldeb yn welladwy.

Triniaeth.—Trwy fod gwendid yn aml, fel prif beth o'r darfodedigaeth, mae y meddyginiaethau y sydd a thueddiad ynddynt i gryfhau, o angenrheidrwydd, yn tueddu i iachau yr anhwyldeb; gan fod yr ysgyfaint yn weiniaid, a thrwy hyny yn analluog i wrthsefyll ymosodiad yr afiechyd. Ond mor gynted ag y byddo eu cynghawsedd, a'u goruchwyliaeth wedi ei adferyd, y maent yn alluog i wrthsefyll, a darostwng y cynhyrfiad afiachus. Y mae yn ffolineb odiaeth, ac anwybodaeth, cyn yr ymdrechir cynnyrchu mwy o wendid trwy waedu. Trefn arbenig natur yn symud oddfynau, a gweliau yr ysgyfaint, yw trwy ddyddyfniad (*absorbition*) peswchboeriad, a llestri ymgarthiadol y croen.

Mae yn ddigon eglur, nas gellir cymhwyso cyfferi yn uniongyrchol at yr ysgyfaint, oddigerth ager, neu ryw o'r fath, gyda yr anadl. Mae meddyginiaethau yn effeithio trwy gyfrwng y gwaed, ac hefyd cydymdeimlad. Gwelir yn eglur effeith cydymdeimlol cyfferi oddiwrth gyfogbeiriau, a pheswchbeiriau.

Nid oes dim amheuaeth, nad oes miloedd yn marw o ganlyniad triniaeth annghymwys gan feddygon, yn enwedig, trwy gael eu hudo gan goeg-feddygon. Mae fel diareb, fod goddefion, pan y rhoddant eu hunain yn ngofal meddygon, yn gwannychu yn fuan. Yn wir, nis gellir dysgwyl yn amgenach, am fod y moddion y mae llawer yn arferyd yn cynnyrchu effeithiau gwannychol, ac yn dadgyfansoddi y gyfundrefn, yn gyflymach na yr afiechyd. Oddiwrth ffurfiad, ac adeilad yr ysgyfaint, mae yn ddilys bod yn anhawdd gwellhau yr afiechyd, mae ei ymlediad parhaus yn rhwystro, i raddau, y gynghawsedd adferiadol. Er hyny, yr ydwyf yn gwybod y gellir gwellhau y Darfodedigaeth Ysgyfeinaidd, gyda thriniaeth fedrus a rhesymol; yn enwedig, yn y gorsafion cyntaf. Mae afrifed o bethau yn cael canmoliaeth mawr i wellhau yr anhwyldeb yma, ond ni ddyleu y rhan fwyaf gael y sylw lleiaf, ond yn hytrach eu dirmygu, a gochelyd rhagddynt.

Mae y driniaeth ganlynol yn hynod o rinweddol, ac effeithiol, yn enwedig yn y gorsafion cyntaf, a lle y methodd wellhau, yr oedd yn ddigoll yn llinaru yr afiechyd, ac yn rhoddi esmwythad i'r goddefydd, ac felly yn estyn ei fywyd, yr hyn sydd yn un o ddybenion mawr meddyginiaeth.

Cyfogbeiriau.—Nid oes un dosbarth o gyfferi mor ddefnyddiol yn yr afiechyd yma, ag ydyw y cyfogbeiriau llysieuaidd; ni ddylid byth gweinyddu *antimony*, *sulphate of zinc*, *&c*. Mae dylanwad cyfogbeiriau yn hynod o werthfawr ar y peiriannau dwyfronawl; maent

yn effeithio trwy ddylanwad cydymdeimlol ar yr ysgyfaint—symud y llysnafedd gwydn o'r celloedd awyr (*air cells*)—cynnorthwyo dyddyfniad yr oddfynau, a thrwy eu heffeith cydnerthol, yn dwyn oddiamgylch y peiriannau hyn i sefyllfa iachusol. Dyleu y cyfogbeiriau gael eu mynychu yn gyfatebol i nerth y goddefydd, a pharhad yr arwyddion, yn enwedig yn y gorsafion cyntaf o'r anhwyldeb. Nis rhaid ofni perygl wrth fod yr anadl yn fyr, a gwendid ymddangosiadol, sydd yn aml, yn dylyn yr arferiad o honynt. Yn y cyfamser, rhwng y cyfogbeiriau, cymerer y balm ysgyfeinaidd (*pulmonic balsam.*) Mae y balm yma yn meddu rhinwedd rhagorol yn y darfodedigaeth ysgyfeinaidd, mae yn llinaru y peswch, symud y boen o'r ddwyfron, ac yn rhoddi nerth a grym i'r cyfansoddiad yn gyffredinol, ac y mae wedi gwellhau llawer o bersonau, ag yr oedd pob arwydd o'r darfodedigaeth arnynt.

Os bydd y peswch yn flinderog, cymerer y moddion canlynol:—melysnodd o *black cherry bark*, un owns; *tincture of blood root*, un dram; *wine of ipecacuanha*, un dram; *wine of antimony*, un dram; *sulphate of morphine*, un gronyn; cymysger oll yn nghyd. Gellir cymeryd llonaid llwy de, dair neu bedair gwaith, yn enwedig amser gwely. Mae Dr. Mc Nair, yn cynghori rhoddi tri gronyn o *ipecacuanha* yn ddogn, dair gwaith y dydd; mae yn arafu cyflymder cylchrediad y gwaed. I leddfu y cynhyrfiad, gellir cymeryd dau ronyn o *extract hyoscyamus*, un neu ddwy waith y dydd. I'r dyben o atal chwys y nôs, cymerer *sulphuric*, a *nitric acid*, un dram o bob un; a rhodder mewn dwy owns o ddwfr; cymerer llonaid llwy de o'r cymysgedd, mewn hanner peint o de *sage*, ddwy waith neu dair y dydd; mae hyny yn atal chwysu y nôs yn fuan. Os bydd poen yn y coluddion, cymerer dwy ran o dair o *charcoal*, ag un rhan o *magnesia*, cymysger, a chymerer

llonaid llwy fwrdd bob dydd. Os bydd poen yn yr ochrau a'r ddwyfron, golcher gyda y tincture gormwythol, a rhodder hefyd y plastr cryfhaol rhwng y ddwyfron, ac wrth yr ochrau, a'r cefn, rhwng yr ysgwyddau.

Newid awyr a hinsawdd.—Mae hyny, weithiau, wedi cyflawni gwyrthiau. Personau wedi myned o hinsawdd Ogleddol i hinsawdd Ddeheuol, yn cael adferiad cyflawn, pan yr oeddynt, yn ol pob ymddangosiad, yn y gorsafion olaf. Mae Dwyreinbarth Florida, New Orleans, India Ddwyreiniol, Deheubarth Ffraingc ac Italy, o dymherdd neillduol tuag at leddfu, ac iachau yr afiechyd. Tynerwch hynod yr awyrgylch yw y briodoledd, sydd yn tueddu i wellhau yr ysgyfaint. Cynghorwyd un person i fyned i barth y byddai yn dueddol o gael y dwymyn geriaidd. Efe a wnaeth felly, ond gwanychodd y dwymyn ef yn anghyffredin, ond y canlyniad fu, iddo wellhau yn fuan o'r darfodedigaeth.

Mae yn ymddangos, fel pe byddai gwres a'r geri, yn gyfrwng gwrthnebol i anhwylderau ysgyfeinaidd. Os bydd yr arwyddion yn bresenol, ag sydd mor eglur yn nodweddau yr afiechyd, ac nad oes mwyach ddim amheuaeth o'i fodoliaeth, gwell yw ymfudo i hinsawdd cynhesach yn ddioed. Os bydd amgylchiadau yn lluddias hyny, y peth goreu, yn nesaf, fyddai ymfudo i barth neu lanerch o dir isel, lle mae anhwylderau geriaidd yn hànu. Mae llefydd uchel, bob amser, yn gwaethygu, ac yn fwy tueddol o gynnyrchu y darfodedigaeth, ac hefyd yn prysuro y terfyniad angeuol. Mae engreifftiau o'r darfodedigaeth yn ymosod ar deuluoedd, ag oeddynt yn flaenorol yn hollol glir oddiwrtho, wedi iddynt newid eu trigfan o'r gwastadedd i lefydd uchel. Mae trigolion gwledydd isel, eang, yn cael y fraint o fod, agos heb eithriad, yn glir oddiwrth yr afiechyd yma. Nid yw y darfodedigaeth ysgyfeinaidd ond anfynych yn Holland. Mae y sefyllfaoedd ag sydd

yn rhag-dueddu i'r dwymyn ddyspeidiol, yn aml, fel yn gwrthwynebu ymosodiad y darfodedigaeth; ymddengys fel pe byddai y ddau yn annghymodol y naill i'r llall. Yr oedd meddygon yn Rhufain, yn yr hen amser, yn arfer danfon eu goddefwyr darfodedigaethus i wlad isel a morfaog, sef yr Aifft. Cicero, yr areithydd enwog, oedd pan yn ieuangc yn cael ei fygwth â'r darfodedigaeth, a chawn hanes ei fod wedi ymdeithio i'r Aifft, er mwyn adferu ei iechyd. Nid yw dewisiad sefyllfaoedd o'r fath hyny, wedi cael ystyriaeth ddyledus yn y wlad yma.

Mordeithio a Marchogaeth.—Mae y cyfryw yn foddion ag sydd yn cael canmoliaeth gyffredinol, tuag at wellhau y darfodedigaeth ysgyfeinaidd. Mae y briodoledd iachusol ag sydd yn tarddu oddiwrth hyny, yn cynhyrfu gweithrediad y croen, a chyfartalu y cylchrediad. Yr oedd Sydenham yn ystyried marchogaeth yn iachad, neu feddyginiaeth bennodol. Yr oedd Dr. Rush hefyd o'r gyffelyb farn. Dywed Dr. Combe fod y darfodedigaeth wedi ymosod arno ef, ac iddo fyned ar hyd y môr i Lundain, ac wedi hyny, iddo fyned oddi yno a mordeithio ar hyd y *Mediterranean*. Yr oedd yn fôr-glaf drwy yr holl fordaith, yr oedd hyn yn achosi gwlyddeiddiwch y croen. Mewn un mis, yr oedd yn canfod diwygiad mawr yn ei iechyd, ac mewn deng mis, yr oedd ei iechyd agos wedi adferyd. Ac wedi iddo dd dychwelyd adref, dechreuodd farchogaeth ar geffyl; yr oedd hyny yn cadw y croen yn wlithog, a gwlyddaidd, yn gyfatebol i hyny yr oedd yn ennill ei iechyd. Hyny, gyda golchi ei groen, &c., a'i cynnorthwyodd i gyflawni ei alwedigaeth fel meddyg, am naw mlynedd; yr holl amser yn mwynhau iechyd da. Ond yn nghyfnod yr amser hyny adfeiliodd ei iechyd drachefn, ond mabwysiadodd yr un moddion, ac adferwyd ef i'w gyflawn iechyd, a bu felly am hir amser.

Y rheol gyffredin ddylid ddylyn yn y darfodedigaeth, yw, yn y lle cyntaf, cymeryd cyfogbair, a gweinyddu carthbair tyner. Wedi hyny, cymeryd balm ysgyfeinaidd, ac arfer y moddion a nodwyd i leddfu y peswch, os bydd yn flinderog. Er cymeryd y balm, dylid, ar yr un pryd, wneuthur pob ymdrech i eangu ceudod y ddwyfron, trwy wisgo *shoulder braces, &c.*, cymeryd gymaint a ellir o ymarferiad yn yr awyr agored, ac os bydd amgylchiadau yn caniatau, gwell ydyw myned i deithio, a newid yr hinsawdd, neu y sefyllfa.

Mae y *cod liver oil* yn cael canmoliaeth gan amryw feddygon yn ngwellhad y Darfodedigaeth. Gellir cymeryd llonaid llwy fwrdd o hono, dair neu bedair gwaith y dydd, wedi yn gyntaf, lanhau y cylla a'r coluddion. Pan fyddir yn cymeryd *cod liver oil*, cymerer yr un faint o *spirit of turpentine* a gwinegr, cymysger, a golcher y ddwyfron yn dda, gyda hyny ddwy waith, neu dair, y dydd. Y modd y mae y *cod liver oil* yn effeithio gwellhad yn y Darfodedigaeth, yw trwy faetholi a chryfhau y corff, gan ei fod yn cynnwys llawer o greisin. Nid ydwyf wedi profi y *cod liver oil* i foddlonrwydd, ond yr ydwyf yn wybodus iddo wneuthur llawer o les i amryw, ac nid oes dim amheuaeth nad yw yn feddyginiaeth hynod gyfaddas yn y Darfodedigaeth. Mae weithiau, o achos ei natur olewaidd, yn annghyduno â'r cylla. Gellir, y pryd hyny arfer ychydig win gydag ef.

Mae y moddion canlynol wedi gwneuthur daioni mawr i rai:—cymerer llonaid llwy fwrdd o fêl, tri melyn ŵy, hanner peint o win; cymysger oll yn nghyd, a rhodder mewn costrel; dogn, llonaid llwy de, dair neu bedair gwaith y dydd, ac yfer o de haidd fel diod gyffredin. Yn fynych, yn y gorsafion olaf o'r Darfodedigaeth, mae y darymred yn dueddol o fod yn flinderog hynod. Os na bydd y *charcoal* a'r *magnesia* yn atal

hyny, gellir rhoddi pelen, cymaint a physen, o *opium* bob nôs, amser gwely. Mae hyny, nid yn unig yn rheoleiddio y coluddion, ond mae hefyd yn lleddfu y peswch, cynnyrchu cwsg, &c.

Y peth goreu i bawb, ag sydd yn amheu fod y darfodedigaeth wedi ymosod arnynt, yw myned at feddyg, gonest, a deallus, a rhoddi eu hunain o dan ei ofal. Ond edrych yn fanol a'r y traethawd yma, gallant wybod yn lled agos a fydd y meddyg yn deall eu clwyf a'i peidio. Ni ddyleu neb, ychwaith, anturio oddicartref, heb yn gyntaf ymgynghori â meddyg, yn enwedig yn y gorsafion olaf. O herwydd, mae yn beth annedwydd eithaf, ymboeni o dan y Darfodedigaeth a marw gartref, yn mysg eu perthynasau a'u cyfellion. Ond y mae yn fwy annedwydd yn mysg dyeithriad, yn mhell oddi cartref.

Trefniad ymborth.—Dyleu yr ymborth fod yn ysgafn a maethlon. Ymborth anifeiliaid nid yw gymhwys i bawb, ond barnwyf fod yn well i rai arfer ychydig o gig newydd ei ladd. Mae wystrys yn dda ragorol, am eu bod yn faethlon, a hawdd eu treulio. Dylid gochel pob peth sydd yn anhawdd ei dreulio.—Mae y cyfryw yn teimlo yn dwym yn y cylla ar ol eu bwyta. Mae llaeth enwyn, wedi ei ferwi, yn hynod o dda; hefyd llaeth newydd eu odro; o ddeutu hanner peint a llonaid llwy fwrdd o *rum* ynddo. Gellir cymeryd hyny bob boreu, neu ddwy waith neu dair y dydd. Os canfyddir fod y *rum* yn cynhyrfu yn ormodol, gellir cymeryd y llaeth ei hunan. Y dyben o roddi y *rum* ynddo ydyw, ei fod yn gwneuthur i'r llaeth dreulio yn well yn y cylla. Mae tueddiad mawr yn y cyfryw ag sydd a'u hysgyfaint yn adfeilio, i gamu yn mlaen, ac felly, cyfyngu ceudod y ddwyfron. Mae hyny yn ennyn yr anhwyldeb, trwy cyfyngder y ddwyfron, yn rhwystro gweithrediad yr ysgyfaint, ac nid yw yn gallu bwrw allan y sylwedd-

au afiachus. Ac yn wir, mae llawer yn gwneuthur yr ystum hyny arnynt eu hunain trwy wyrgamu, a gwasgu eu hysgwyddau agos at eu gilydd, mae hyny o angenrheidrwydd yn cyfyngu ceudod y ddwyfron. Heblaw bod hyny yn ystum gwrthun, ac yn rhoddi i'r person agwedd afler ac esgeulus, mae wedi bod yn achos o'r Darfodedigaeth a'r lawer. Dyleu pawb arfer eu hunain i fod yn syth, yn enwedig y cyfryw sydd a rhagdueddiad i'r Darfodedigaeth ysgyfeinaidd. Mae llawer wedi arfer cymaint yn yr ystum, fel y mae yn beth anhawdd annghyffredin iddynt wastadhau eu hunain. Cynghorwn y cyfryw wisgo *shoulder braces* a thynu eu hysgwyddau yn ol, a rhoddi y cyfrwym gan dyned ag fyddo bosibl. Mae yn dda hefyd gwneuthur ymdrech i lenwi yr ysgyfaint gydag anadl yn aml, gan ar yr un pryd ddal yr ysgwyddau yn ol.

---

## ANHWYLDEB YR AFU. *(LIVER COMPLAINT.)*

Arwyddion.—Mae yr arwyddion yn amrywiol, ac hefyd yn aml, yn aneglur ac ansicr. Ond y mae yn ddiamheuol fod eangiad—cornwydydd, ac yn neillduol ennyniad parhaol, ac ansawdd afiachus yr afu, yn sail neu achos llawer o achwyniadau. A adnabyddir yn gyffredin wrth y boen yn yr ochr ddeheu—yn ymsaethu i'r ysgwydd, ac weithiau, i'r ochr chwith—teimlad llawnaidd ar ol bwyta—rhwymedd—dwfr poeth—ymgarth o liw clai—gwall chwant bwyd, er fod weithiau yn teimlo yn wangcus—archwaeth yn y genau—y croen mewn cyflwr sychlyd a garw—bytheirio gwynt—arwyddion geriaidd—gwall-dreuliad—syrthni—cysgadrwydd—breuddwydion annymunol—anfoddogiad, a'r

dduegwst. Pan fyddo y geri yn cael ei adael i fyned trwy y cyfansoddiad—y croen a'r llygaid ydynt felynaidd. Ond pan fyddo yr afu yn farwaidd, bydd y wedd yn aml yn landeg. Y peiriant weithiau sydd yn eangu fel ag y gellir ei deimlo islaw yr asenau.

Achosion.—Ataliad y chwysdarth—bwyta yn ormodol—ymarferiad eisteddol—cerrig yn mhibellau y geri—haint—gwirod poethion—*mercury*, a sylweddau gwenwynllyd ereill.

Triniaeth.—Mae yn ofynol gweinyddu cyfogbair yn achlysurol, ac wedi hyny rhoddi y carthbair *mandrake*. Bydd yn ofynol hefyd rhoddi cyfferi agorbair *(deobstruent,)* ac nid oes dim yn well na y peleni afuol. Mae y rhai hyn yn symud y boen a'r rhwystriadau, ac yn hynod o effeithiol yn anhwylderau yr afu. Rhodder dwy neu dair yn ddogn, ddwywaith y dydd, a rhodder y plastr cryfhaol wrth yr ochr, a gadawer yno nifer o wythnosau. Os bydd yr anhwyldeb yn ystyfnig, rhodder y carthbair *mandrake*, ddwywaith yr wythnos. Mae yr anhwyldeb yma yn gyffredin, yn gwellhau yn araf, weithiau bydd chwech mis, neu hwy.

---

## GWALLDREULIAD. *(DYSPEPSIA.)*

Arwyddion.—Teimlad gwanychlyd yn y cylla—poen ac anesmwythder yn y peiriant hyny, yn enwedig wedi bwyta—weithiau mae yr ymborth yn cael ei fwrw i fynu ar ol ei fwyta, ac yn fynych, yn myned trwy y coluddion yn annhreuliedig. Mewn rhai achosion, mae darymred gwastadol, gyda thraed a dwylaw oerion, a thueddiad anarferol i gymeryd annwyd—poen blinderog rhwng yr ysgwyddau, &c. Yn fwyaf cyffredin, mae y coluddion yn rhwym, yn gydfynedol a syrni yn

y cylla—y coluddwst—gwyntogrwydd, a bytheiriad—cyllagwst (neu ddwfr poeth)—cur yn y pen. Yn fynych, mae yr arwyddion yn symud o'r naill barth i'r llall. Mae yn gyffredin, osgordd o arwyddion anhwylderau ereill, yn amrywio yn fawr mewn gwahanol bersonau—y fath a chryndod anwydog, a ffrydiau o wres—dyhoeniad—anobaith—dychlamiad y galon—penddaredd--pruddglwyf--yr hunllef, a breuddwydion dychrynedig. Mae yr arwyddion blaenorol yn fwy neu lai yn arddangosiad o anhwyldeb yr afu. Mae y gwalldreuliad yn dygwydd yn mhlith pob gradd o'r hil ddynol; mae yn dyfod yn arafaidd, ac y mae yn araf ac anniben yn gwellhau.

Achosion.—Unrhyw peth ag sydd yn tueddu i wanychu y corff yn gyffredinol; fel ymarferiad eisteddol, ac ystum annaturiol, cyffredin i lawer o grefftwyr, a benywaid—llafurio yn galed—gormodol gywestach—arferiad gormodol o garthbeiriau—-gwirod poethion—ffwgws—coffi—te—*mercury*—gollwng gwaed--ymborth annghymwys, ac anhawdd ei dreulio, megys bara brwd,—ffrwythau anaeddfed—efrydaeth dwys—bwyta yn rhy gyflym—ymegnio newydd fwyta—bwyta ychydig a'r unwaith, a hyny yn aml.

Triniaeth.—1. Ymgadw rhag yr achosion annogol.

2. Bwrw allan o'r cylla yr amrywiol sylweddau niweidiol.

3. Diwygio y bolrwymedd.

4. Adferu galluoedd, a gweithrediad y cylla; ac yn ddiweddaf, llinaru yr arwyddion poenus a diriad.

Mae yn ofynol i'r goddefydd ymatal oddiwrth bob achos annogol, neu ag sydd yn cynhyrfu, hyd eithaf ei wybodaeth, pa un bynag a'i mewn bwyta ai yfed, neu unrhyw afreoleiddiwch arall. Un achos, agos cyffredinol o'r anhwyldeb ama, yw bwyta ymborth anaddas, ac yn anamserol. Dyleu y cyfryw ag sydd yn ymboeni

o dan walldreuliad, gymeryd eu prydiau yn rheolaidd, at yr un amser bob dydd, ac ni ddylent, un amser, gymeryd gormodedd o fwyd a diod. Mae aros yn hir yn y gwely, y boreu, yn hynod niweidiol, yr un modd a phob ymddygiad syrthlyd a diog arall. Mae hefyd, yn ofynol gochel ymarferiad eisteddol; yr un modd efrydaeth dwys, cywestach annghymedrol. Gochelyd yn anad dim, y tueddfryd niweidiol ag sydd yn gorddiwes goddefwyr gwalldreuliad, sef, myned at *ddoctor* gwahanol bob dydd, yn nghyd a chymeryd pob math o gyfareddau gwag-ymffrostgar. Mae hyny yn cadw y cylla mewn cynhyrfiad parhaus, ac felly, mae yn annichonadwy profi un math o driniaeth, na chyfferi. Trwy gynghawsedd araf anarferol mae y cylla yn adferu ei weithrediad iachusol, a thrwy wneuthur cyffyr fasnachdŷ o'r cylla, mae yn atal i ddwyn oddiamgylch weithrediad iachusol. Mae yr anywyldeb yma yn wahanol i'r rhan fwyaf mewn perthynas i'r driniaeth; o herwydd mae yn gynnwysedig o amrywiol arwyddion, a'r rhan luosocaf yn gofyn gwahanol driniaeth, ac felly, mae yn gofyn gwahanol driniaeth, ar y gwahanol arwyddion.

Os bydd y cylla yn orlawn gan sylweddau estronol, bydd yn ofynol gweinyddu cyfogbair; gellir mynychu hyny yn achlysurol trwy gyfnod yr afiechyd. Rhodder y peleni gwrth-gwalldreuliad, gymaint ag a fyddo yn cadw y coluddion mewn symudiad dyddiol. Ac os bydd anhwyldeb yr afu yn gydfynedol, (yr hyn sydd yn bod yn gyffredin) rhodder y peleni afuol. Mae yn ofynol golchi arwyneb y croen yn aml, o herwydd, yn gyffredin, mae y croen yn hynod o anweithredol. Pan fyddo y cylla wedi cael ei lanhau, rhodder y peleni canlynol:—Cymerer o *ipecacuanha*, un *scruple*, neu lonaid llwy de; ychwaneger tri chymaint o *castile soap*, wedi ei grafellu yn fân; cymysger yn nghyd, ac os bydd eisieu, ychwaneger ychydig o *molasses*, a gwneler yn bel-

eni o faint pysen, a chymerer un neu ddwy, dair neu bedair gwaith y dydd. Ni ddylid cymeryd cymaint ag a fyddo yn achosi arloesygiad. Neu, gall y cyfryw fydd yn dewis, gymeryd y powdr heb ei wneuthur yn beleni. Mae hyn yn cryfhau y peiriannau treulbair, ac yn annog gweithrediad esmwyth yn y coluddion, a'r croen. Yn nghyfnod yr amser y byddo y goddefydd yn cymeryd y moddion blaenorol, bydded iddo gymeryd y te canlynol:—cymerer *bonset, tansey, wormwood, hoarhound*, yr un faint o bob un; gwneler yn de cryf, a bydded i'r goddefydd yfed llonaid gwin-wydr yn oer, dair neu bedair gwaith yn nghyfnod y dydd. Os bydd poen yn yr ochrau, a'r ddwyfron, baddier â'r tincture gormwythol; ac yn enwedig rhwng yr ysgwyddau. Yn mhen amser, gellir rhoddi y plastr cryfhaol wrth yr ochrau a rhwng yr ysgwyddau.

Mae yn aml, boen dirfawr yn y cylla, yn cyfodi oddiar ddau achos, sef, gwynt a diffyg treuliad; mae llawer o feddyginiaethau wedi cael eu treio at hyny, ac ddim yn cynnyrchu yr effaith ddymuneddol. I'r dyben o leddfu hyny, rhodder y *compound spirit of lavender;* llonaid llwy de; mae hyny yn gyffredin yn esmwythau. Os bydd suredd yn y cylla, rhodder y moddion canlynol:—*ipecacuanha*, llonaid llwy de; *carbonate of ammonia*, llonaid llwy fwrdd; *opium*, pump gronyn; cymysger oll yn nghyd, a rhaner yn ddauddeg o bowdrau, a chymerer un, ddwy neu dair gwaith y dydd. Neu, gellir cymeryd y *supercarbonate of soda*, lonaid llwy de, mewn ychydig ddwfr, amryw weithiau yn nghyfnod y dydd. Mae Dr. Watson yn arfer, pan fyddo gwyntogrwydd a bytheirio, bump neu chwech gronyn o *extract of rhubarb*, ac un gronyn o *cayenne pepper*. Ac os bydd y gwynt, fydd yn cyfodi i'r genau, yn sur, mae yn dda y pryd hyny, roddi llonaid llwy de o *sal volatile*.

Ac os bydd y cyllagwst, neu ddwfr poeth, a'r cramp yn y cylla, rhodder llonaid llwy de o *armonatic spirit of ammonia.*

Y feddyginiaeth oedd un doctor Indiaidd yn arfer, i wellhau gwalldreuliad, yw, yn gyntaf, cyfogbair o *lobelia;* wedi darfyddo effaith hyny, y carthbair canlynol: —cymerer *culver's physic*, ddauddeg gronyn; *mandrake*, oddeutu dauddeg gronyn; a phowdr wedi ei wneuthur o'r memrwn tufewnol i grombil colomen wyllt; cymysger hwynt oll yn nghyd, a chymerer llonaid llwy de dair gwaith y dydd, mewn *molasses*, neu ddwfr a siwgr. Yfer hefyd yn helaeth o de *pipsissiway (pyroela umbellata.)*

Trefniad Ymborth.—Mae yn ofynol rhoddi yr ystyriaeth mwyaf manol mewn perthynas i'r ymborth; o herwydd y mae yn ymddibynu cymaint ar hyny, os nad mwy, na chyfferi. Rhaid i'r goddefydd ochelyd bwyta dim anhawdd ei dreulio; ac y mae yn rhaid iddo ddysgu dethol y cyfryw ei hunan. Dyleu, hefyd, godi oddiwrth y bwrdd pan yn teimlo fel y gallai fwyta ychwaneg. Mae cymeryd ymarferiad mewn awyr agored, yn un o'r pethau mwyaf angenrheidiol. Mae yn ffaith, fod y rhan fwyaf yn arfer ymborth rhy fras, a chynhyrfiol yn ei ansawdd, ac hefyd, yn ormodol. Dim ond cymeryd golwg a'r drueiniaid oddiamgylch, gwelir eu bod yn derbyn eu cosbedigaeth mewn ffurf o walldreuliad—anhwyldeb yr afu—dyfrglwyf—troedwst—a marwolaeth anmhrydlawn. Mae y fam dyner yn rhyfeddu, fod ei hepil diniwaid yn goddef cymaint o boen, a chael ei gipio o'i mynwes gan 'ragliniaeth,' pan mewn gwirionedd, nad yw y plentyn ond derbyn y gosbedigaeth ag sydd yn deilliaw oddiwrth ddeddf annghyfnewidiol, pa un y mae hi wedi adael iddo droseddu. Mae y cylla, fel pob peiriant arall, yn gofyn gorffwysdra wedi myned trwy ei lafur; er hyny, mor fynych y dywed y fam

wrth ei mab, neu ei merch sydd yn ymboeni o achos gwalldreuliad—'bwyta, ac ychydig yn aml.' Mae y geiriau hyny wedi bod yn farwol alarnad i filoedd. Pa fodd y mae yn swnio yn nglustiau y gwalldreuliwr truan? a pha fodd y mae yn cyflymu ei fynediad i'r bedd, pa un y mae yn ei ofni gymaint? Mae un arferiad ag sydd yn hynod o niweidiol yn y wlad yma. Dywed Dr. Andrew Combe, 'Nid oes un man ag y mae dyn yn prysuro mor fuan at ei alwedigaeth ag yn yr Unol Daleithau; ac nid oes un man arall y mae yn traflyngcu ei ymborth yr un modd a phe byddai yn rhedeg yn erbyn amser. Y canlyniad o hyny yw, nad oes yn un lle gymaint o anghymedroldeb mewn bwyta, a chymaint o walldreuliad. Mae bwyta cyflym, yn annghyfnewidiol yn arwain i orlwytho y cylla, a phan ychwaneger at hyn, y diystyrwch o'r llonyddwch sydd angenrheidiol i dreuliad, beth sydd yn ganlynol i'w ddysgwyl ond gwalldreuliad gwrthnysig.' Yn yr achos yma, rhaid i'r cylla gyflawni gorchwyl y dannedd; yr hyn sydd yn eithaf cymhwys i'w anhwyluso. Yr ydwyf yn gwybod y bydd yn anhawdd gan lawer gredu, ei bod yn ymddibynu mwy a'r drefniant ymborth, yn ngwellhad gwalldreuliad, na dim cyfferi. Ond os bydd iddynt gael byw am yspaid o amser, byddant yn sicr o gael ei gorfodogi i gredu. Nid oes neb ag sydd yn feddianol ar synwyr, ac wedi goddef gwalldreuliad, na ddywed yr un peth, o herwydd bydd yn ei ddwyn i gredu trwy brofiad. Mae llawer wedi talu cannoedd am gyfferi, o'r naill beth i'r llall, ond o'r diwedd, yn dyfod i'r penderfyniad nad oes dim gwellhad i'w gael oddiwrthynt. Ond fe allai, o'r diwedd, y dygwydd iddynt gyfarfod a meddyg gonest, yr hwn a'u cynghora i drefnu eu hymborth a chymeryd ymarferiad, &c. Mae rhai yn meddwl ond iddynt gymeryd peleni Brandreth, &c., y bydd iddynt wellhau; pan ar yr un amser y mae pob math o

garthbair cryf yn eu gwaethygu. Y peth goreu fyddai i bawb, yw rhoddi ei hun o dan ofal meddyg synwyrlawn, a medrus; ac os bydd yn feddiannol ar egwyddor ddyngarol, cyfarwydda mewn perthynas i'r cyfferi a'r ymborth.

---

## ANHWYLDERAU Y GALON. *(DISEASES OF THE HEART.)*

Arwyddion.—Mae yr arwyddion yn amrywiol ac ansicr—ond yn gyffredin mae poen yn yr ochr chwith—dychlamiad y galon—dyspeidiad y gwaedgur—anhawsder i anadlu—gwawr lasgoch ar y gwefusau—y llygaid yn ymchwyddedig a'r gwynepryd yn hagr. Y wawr lasgoch ar y gwynepryd, sydd yn dygwydd yn fynych yn y mygodfa, ond yn anhwyldeb y galon, nid yw y gwichiad neillduol yn gydfynedol fel yn y mygodfa. Mae rhai o'r arwyddion yn sefydlog, a rhai yn dyfod yn argylchol. Mewn achosion diriad, gellir teimlo gweithrediad llafurus, ac afreolus y galon, gogyfer a pharth y galon. Mae, weithiau, ddychlamiadau angerddol yn gydfynedol, a phoen gwrwstaidd yn y ddwyfron, a elwir *angina pectoris.*

Achosion.—Yr achos gwreiddiol yw eangiad, neu feddalwch y galon—esgyrneiddiad y dorau (*valves,*) neu y rhedweli fawr (*aorta*)—ennyniad sefydlog, a dwfr yn arwisg neu bilen y galon (*pericardium.*) Mae yr achosion cynnhyrfiol yn amrywiol, megys gormodol gywestach—nwydau angerddol, &c. Mae yn ddiamheuol fod rhagdueddiad i'r gwendid, neu anhwylderau y galon, mewn rhai personau. Mae llawer o ddychlamiad y galon, yn cael ei achosi trwy gydymdeimlad â pharthau ereill, megys y cylla, anhwylderau gieuedd, &c.

Triniaeth.—Mae yn ofynol trin yr anhwyldeb yn ol yr arwyddion. Os bydd twymyn, yn gydfynedol ag arwyddion o ennyniad yn arwisg y galon, gweinydder y carthbair canlynol:—*jalap*, llonaid llwy de; *rhubarb*, llonaid llwy de; *carbonate of soda*, llonaid llwy de; cymysger oll yn nghyd mewn oddeutu hanner llonaid cwpan de o ddwfr; cymerer ei hanner ar unwaith, bob dwy awr, hyd oni effeithio fel carthbair. Pan fyddo y carthbair wedi effeithio, rhodder chwech gronyn o'r powdr chwysbarol, bob dwy awr, neu dair, hyd oni byddo chwys helaeth wedi ei gynnyrchu. Os bydd poen mawr yn yr ochr, gogyfer a'r galon, rhodder plastr o fwstard. Gellir rhoddi y moddion canlynol os bydd y dychlamiad, a churiad y galon yn angerddol:—dau ronyn o *digitalis purpeirea*, wedi ei falu yn bowdr, bob pedair awr yn nghyfnod y dydd. Os bydd dyfrglwyf y galon, mae yn ofynol trin hyny yr un modd ar dyfrglwyf cyffredin, oddigerth fod yn fwy angenrheidiol gweinyddu y *digitalis* yn nyfrglwyf y galon.

---

## LLWG. *(SCURVY.)*

Arwyddion.—Gwendid ac ymiseliad galluoedd y corff—gwaedu o'r gorchfanau *(gums)*—ysmotiau o wahanol liw ar y croen—dulas yn gyffredin, yn enwedig wrth fonau y gwallt—hen archollion, pa rai oeddynt er ys hir amser wedi iachau yn tori allan o'r newydd—poenau dirfawr a gwibiedig fydd yn dygwydd, yn enwedig y nôs—y dannedd fyddant yn rhyddhau—yr anadl yn atgas—y lleisw fydd o ansawdd halenig—y cymalau yn chwyddedig ac anystwyth—yr ymgarth yn ddrwgsawrus anarferol, ac arwyddion madrol fydd yn terfynu yr olygfa.

Achosion.—Rhyw ddiffyg neillduol yn yr ymborth; mae yn dygwydd, gan mwyaf, yn mhlith morwyr, yn enwedig y cyfryw ag sydd yn gorfod byw amser hir ar ymborth anifeilaidd, ac yn cael eu hymddifadu o lysieu croywon, &c.

Triniaeth.—Nid oes un modd i wellhau yr afiechyd, ond trwy fabwysiadu cynllun gwrthwynebol i'r hyn a'i hachosodd. Os bydd y goddefydd wedi bod yn rhwym i anadlu awyr oer, laith, neu gyfyng, dyleu gael ei symud i sefyllfa sych, agored, a chymedrol o gynhes. Pan fyddo wedi cael ei achosi gan ymborth hallt, y feddyginiaeth yw ymborth cynnwysedig y rhan fwyaf o lysieu croywon, o bob math, gwneuthur defnydd o'r cyfryw gyda llaeth—dail—bara newydd—cwrw newydd—osai, &c. Nid ydynt, ond anfynych, yn methu gwellhau y llwg o'r rhywogaeth yma, ond eu cymeryd cyn iddo gael myned yn mlaen am hir amser. Mae yn ofynol eu harfer am encyd o amser cyn y bydd iddynt gael yr effaith ddymunol.

Yn ymgyrch yr anhwyldeb, mae arwyddion neillduol yn cyfodi, pa rai sydd yn gofyn gwahanol driniaeth. Rhaid lleddfu y boen yn y coluddion, gyda charthbeiriau tyner, ac ychydig o *opium*. Cyfyngder yn y ddwyfron, ac anhawsder i anadlu, a ellir eu lleddfu trwy roddi plastr o fwstard. I wellhau y gweliau yn y gorchfanau *(gums,)* a rhyddni y dannedd, cymerer gwddfolch o'r moddion canlynol:—*peruvian bark* un owns; *myrrh*, hanner owns; gwinegr, llonaid llwy fwrdd; rhodder hanner peint o ddwfr berwedig ar y *bark*, a'r *myrrh*, a phan oero, rhodder y gwinegr ynddo, a golcher y genau dair neu bedair gwaith y dydd. Os bydd gweliau, a doluriau, ar unrhyw barth o'r corff, rhodder sugaethen o *slippery elm* wrthynt; ac os bydd tueddiad i farw-lygriad, rhodder sugaethen o furym.

I'r dyben o gyfnewid ansawdd y cyfansoddiad, rhodd-

er y moddion canlynol:—*sarssaparilla*, pedair owns; *yellow dock*, tair owns; *dandelion*, pedair owns; *marsh mallow root*, chwech owns; berwer oll yn nghyd mewn un galwyn o ddwfr am hanner awr, yna hidler, a melyser, a rhodder ynddo hanner peint o *holland gin;* dogn, llonaid gwin-wydr bedair neu bump gwaith y dydd.

---

## GORMWYTH SEFYDLOG. *(CHRONIC RHEUMATISM.)*

Arwyddion yr afiechyd adnabyddus yma sydd o wahanol amrywiaeth. Mae un yn gyfansoddedig o ofid, yn enwedig wrth symud, yn mhen y cluniau—yr ysgwyddau a'r cefn—weithiau, mae y gofid yn symud o un lle i'r llall, ac yn achlysurol, yn gydfynedol ag ychydig chwydd. Rhywogaeth arall sydd a phoen ac anystwythder, ac ni theimlir dim poen ond yn unig wrth symud, ac nid oes dim chwydd yn gydfynedol. Y trydydd rhywogaeth sydd ag ychydig, neu ddim poen, yn hynodawl gan ymhelaethiad ac oddfynau yn y cymalau.

Achosion.—Dynoethiad i oerfel—codi yn galed—gwirod poethion—defnyddio llawer o ymborth anifeilaidd—*mercury*, *&c.* Mae *mercury* fel unig achos o'r oddfynog.

Triniaeth.—Y gwrthddrych yn yr anhwyldeb yma, yw, 1. Annog y llestri croenawl i weithrediad iachusol, ac felly, adferyd y chwysdarthiad.

2. Teneuhau ansawdd gwydus a glydiog y gwaed, yr hyn sydd yn anghyfnewidiol yn gydfynedol a'r anhwyldeb yma. Rhodder y melysnodd *sarssaparilla;* a'r *iodide of potasse*, un dram, yn mhob chwart; dogn, llon-

aid gwin-wydr, ddwy waith neu dair y dydd. Yn gysylltiedig a'r moddion blaenorol, gellir rhoddi y dyferwad canlynol:—cymerer o *white pine bark*, *burdock seeds*, *prickly ash bark*, *virginia snake root*, yr un faint o bob un; gwneler yn ddyferwad cryf, ac yfer yn helaeth trwy gyfnod y dydd. Wedi defnyddio y moddion hyn, ac oni bydd yr anhwyldeb yn gwellhau, gellir gweinyddu y cyfferi canlynol:—cymerer *extract of poke berries*, hanner owns; *white turpentine*, hanner owns; ychwaneger un chwart o *malaga wine*, a chymerer llonaid gwin-wydr, dair neu bedair gwaith y dydd. Arferer fel moddion allanol yr enaint canlynol:—cymerer *cayenne pepper*, un owns; *alcohol*, un chwart; cymhwyser gyda darn o wlanen. Neu, gellir arfer yr enaint gormwythol, eneinier y parth dair neu bedair gwaith y dydd.

Mae y baddon ager yn hynod o effeithiol yn yr anhwyldeb yma. Mae Dr. Lusk yn defnyddio y moddion canlynol, tuag at wellhau y gormwyth sefydlog:—cymerer *mandrake root*, hanner owns; *black cohosh*, hanner owns; *prince's pine*, neu (*pipsisseway*,) chwarter owns; *prickly ash bark*, chwarter owns; bydded i'r cwbl gael eu bras falu, a rhodder mewn un chwart o win; dogn, llonaid llwy fwrdd, dair neu bedair gwaith y dydd. Bydd yn angenrheidiol gweinyddu carthbeiriau, i'r dyben o gadw y coluddion mewn ansawdd ddatodadwy.

Gellir arfer ymborth cynhesol, a chymhelliadol, yn yr anhwyldeb yma. *Cayenne pepper* a mwstard a ellir gymeryd gyda yr ymborth; a defnyddier *ginger* hefyd. Gwysger gwlanen yn nesaf at y croen, yn y dydd, a thyner ymaith y nôs. Mae yn ofynol bod yn ofalus rhag atal y chwysdarthiad.

Os bydd chwydd oddfynog yn y cymalau, mae cymeryd *sulphur*, a *cream of tartar*, yn hynod o effeithiol, fel meddyginiaeth dufewnol; a phlastr, cyfansoddedig o

*sulphur, venice turpentine,* a'i newid yn aml, wrth y cymalau. Ac oni bydd yr anhwyldeb yn lleddfu, wedi defnyddio y moddion blaenorol, am encyd o amser, cymerer y dyferwad canlynol:—*prince's pine,* neu *(pipsisseway,) horse radish roots, elecampane roots, prickly ash bark, bitter sweet bark,* (oddiar y gwreiddiau,) *black cherry bark, mustard seed;* llonaid llaw o bob un; gwneler yn drwyth gref, ac yfer yn helaeth.

---

## DYFRGLWYF Y DDWYFRON. *(DROPSY OF THE CHEST.)*

Arwyddion.—Teimlad cyfyngus a gwasgfaol yn y ddwyfron—anhawsder i anadlu—analluogrwydd i orwedd yn gyfochrog—y goddefydd yn gorfod naill a'i eistedd yn syth, neu yn gofyn ei ysgwyddau wedi eu dyrchafu—cwsg yn gyrthryblus—tarfiad disymmwth, a theimlad o arswyd—y gwaed yn afreolaidd, a chaled, yn gyffredin—syched dirfawr—lleisw yn brin, lliwedig, a gwaddodlyd--chwydd yn y traed a'r coesau--y gwnebpryd yn bryderus—peswch byr a sychlyd. Ac yn neillduol amlygrwydd o symudiadau gwlybwr yn ngheudod y ddwyfron.

Ffafriol.—Pan na byddo yr afiechyd yn rhagflaenol gan ennyniad llym yn y ddwyfron—chwysiad helaeth, —cynnyddiad yn arllwysiad y lleisw, &c.

Anffafriol.—Mae yn gyffredin, yn anwelladwy, yn enwedig pan fyddo yn rhagflaenedig gan afiechyd llym yn y parth—poeri gwaed—gwedd ddulas, a disymmwth—lleihad y chwydd yn y traed a'r aelodau, heb gynnyddiad yn arllwysiad y lleisw.

Achosion.—Digyfrwng achos yw gwendid, neu rwystriadau yn y gwythenau, yr hyn sydd yn achosi

trychwysiad *(transudation)* meiddwaed *(serum.)* Ymddengys fod dyfrglwyfau, yn gyffredin, yn rhagflaenedig, neu yn gydfynedol ac ansawdd, neu weithrediad ennynawl. Y gwreiddiol achos o hyny yw, anwyd, annghymedroldeb, &c. Ac fel achosion cyffredin, yn aml, mae clefydau ereill.

Triniaeth.—Arddangosiad o wellhad yw,—

1. Arllwys y dwfr.

2. Rhwystro ei ddychweliad, trwy annog y dyddyfnolion i weithrediad iachusol. Bydd yn ofynol rhoddi, yn gyntaf, y carthbair canlynol:—cymerer *mandrake*, *cream of tartar*, a *peppermint*, wedi eu malu, yr un faint o bob un, a chymysger yn nghyd. O'r powdr yma, rhodder llonaid llwy de, mewn ychydig o ddwfr berwedig a siwgr, bob pedair awr, hyd oni byddo wedi effeithio fel carthbair. Gellir ei gymeryd mewn *molasses*, os bydd yn fwy dymunol.

Mae y carthbair blaenorol yn un o'r moddion mwyaf effeithiol yn yr anhwyldeb yma, yr un modd a phob math o ddyfrglwyfau. Yfer yn helaeth o de *spearmint* yn y cyfamser wrth ei gymeryd. Nid yw un gweinyddiad o'r carthbair yn ddigonol, mae yn rhaid iddo gael ei fynychu, hyd oni byddo yr afiechyd wedi ei symud, yn gyfatebol i nerth y cyfansoddiad, &c. Fel rheol gyffredin, dau neu dri yn nghyfnod yr wythnos, sydd yn ddigon. Ar ol gweinyddiad y carthbair, a phan fyddo y cylla wedi ymlonyddu, gweinydder y moddion canlynol:—cymerer *fox glove (digitalis purpurea,)* un *scruple*—neu llonaid llwy de, rhodder arno hanner peint o ddwfr berwedig, mewn llestr cauedig, a phan oero, rhodder llonaid llwy fwrdd bob dwy awr. Os bydd yn achosi arloesygiad, neu ysgafnder yn y pen, cymerer hanner y dogn ar unwaith. Mae y drwyth hyn, yn effeithio yn alluog, ac arbenig, yn nyfrglwyf y ddwyfron. Ar yr un amser ac y byddir yn cymeryd y modd-

ion blaenorol, yfer yn helaeth o'r drwyth ganlynol:—cymerer *spearmint*, *parsley*, *elder flowers*, *dandelion root*, llonaid llaw o bob un, rhodder mewn llestr cauedig, a thywallter arnynt ddwfr berwedig, a phan oero, bydded i'r goddefydd yfed yn helaeth yn nghyfnod y dydd. Rhwbier y ddwyfron ac ymysgaroedd y goddefydd, hwyr a boreu, gyda *sweet oil* wedi ei dwymo, ag ychydig o *cayenne pepper* ynddo.

Pan fyddo y dwfr wedi cael ei arllwys, yr hyn beth a ellir ei wybod trwy leddfiad yr arwyddion, rhodder tair o'r peleni cymhelliadol, dair gwaith y dydd; maent yn cryfhau, ac i raddau yn leiswbair. Os bydd y dwfr yn encilio yn araf, gellir eu harfer yn gynt, o herwydd eu bod yn cynnorthwyo yr arllwysiad.

Os na chymerir gofal, ac arfer moddion rhwystrol, mae yr afiechyd yn dueddol o ddychwelyd. Gan hyny, bydd yn angenrheidiol arfer y cyfferi encyd o amser wedi i'r goddefydd wellhau. Rhodder i gryfhau, ac atal ail-gasgliad y dwfr, y gwinfeddyglyn; hanner llonaid gwinwydr dair gwaith y dydd, pan fyddo y cylla yn wag. Rhaid i'r ymborth fod yn ysgafn a meithrinol. Gellir cymeryd *pepper sauce* yn helaeth gyda yr ymborth; hefyd, mwstard, *horse radish*, a *cayenne pepper*; mae y cyfryw yn meddu priodoledd iachaol yn yr anhwyldeb yma.

---

## DYFRGLWYF Y BOL. *(DROPSY OF THE ABDOMEN.)*

Arwyddion.—Mae weithiau, yn rhagflaenedig gan golliant hollol chwant bwyd—sychder anarferol y croen—bolrwymedd—y bol yn myned yn chwyddedig, ac yn parhau i gynyddu—gallu dirnad symudiadau y dwfr

wrth osod y llaw ar un ochr a tharawo y bol gyda y llall. Mae y lleisw yn fwy lliwedig a'r coluddion yn fwy marwaidd, yn y rhywogaeth yma o ddyfrglwyf, nac yr un arall.

Ffafriol.—Yr arwyddion mwyaf diriad, yn y rhywogaeth yma o ddyfrglwyf, yw anadliad býr, a chyfyngus—anallu i gymeryd dim, neu ychydig anarferol o fwyd na diod—chwydd yn yr aelodau, ac ochrau y bol yn ddolurus. Y chwydd yn yr aelodau yn lleihau, heb ddim cynnyddiad yn arllwysiad y lleisw, sydd argoel anffafriol.

Achosion.—Mae cyflwr afiachus yr afu, yn fynych, yn achos digyfrwng, neu y ddueg hefyd—rhwymedd o hir barhad—gwaed yn cynnwys gormodedd o feiddwaed—-ymborth anfaethlon—-gwaedlifoedd—mynych waedu—gwalldreuliad—clwyf melyn.

Triniaeth.—1. Arllwys y dwfr.

2. Atal ail-gasgliad, trwy adferyd grym y cyfansoddiad.

Yn gyntaf peth, yn yr anhwyldeb yma, rhodder y carthbair *jalap* a *cream of tartar*. Mae y carthbair yma yn arllwys y dwfr yn helaeth, lleihau y tyndra a'r chwydd yn y bol. Mae yn ofynol iddo gael ei fynychu gymaint a thair gwaith yr wythnos. Y moddion nesaf yw, y moddion canlynol:—*queen of the meadow*, un owns; *milk weed* (*asclepias syriaca*,) dwy owns; *horse radish root*, un owns; *white mustard seed*, hanner owns; *prickly ash bark*, dwy owns; bydded iddynt gael ei bras falu. Wedi hyny, rhodder arnynt alwyn o osai (*cider*) da, heb suro, a chymerer llonaid giwn-wydr, bedair neu bump gwaith y dydd. Gwna y moddion yma argymell yr arenau, ac achosi arllwysiad helaeth o ddwfr. Rhaid iddo gael ei gymeryd yn ddyddiol, os bydd yn cyduno a'r goddefydd. Os na fydd y moddion blaenorol yn arllwys y dwfr, gweinydder y cyfferi canlynol;—*euphor-*

*bia ipecacuanha*, llonaid llwy de lled fechan, mewn ychydig ddwfr a *molasses*, un waith bob dydd, am ychydig ddyddiau; mae y moddion yma wedi gwellhau y dyfrglwyf o'r fath yma ar nifer; ond y moddion a wellha un person, nid yw yn fynych yn cael dim effaith ar un arall. Os bydd chwydd mawr yn yr aelodau, ar chwydd yn aros yn ystyfnig yn yr ymysgaroedd, rhodder y goddefydd, neu ei aelodau, uwch ben trwyth o lysiau chwerwon, un waith bob boreu, a bydded iddo gymeryd y moddion canlynol:—berwer un owns o *seneca snake-root*, mewn un chwart o ddwfr, hyd oni byddo yn beint; dogn, llonaid llwy fwrdd bob awr, hyd oni chymerir y cwbl.

Pan fyddo y dwfr wedi ymadael yn lled lwyr, bydd yn ofynol gweinyddu moddion cryfhaol, neu y cyfryw ag sydd yn crynhoi, neu dŷnhau y cyfansoddiad yn gyffredinol. I'r dyben hyny, rhodder y meddyglyn gwin adferiadol; mae hyn yn cryfhau y corff, yn adnewyddu chwant bwyd, &c. Dywed Sydenham,—'Y ddau gyfferi goreu i'r cyfryw ag sydd yn anhawdd i'w carthu, yw *elaterium*, a thrwyth *crocus metalorum*. Maent yn gweithio yn rymus, yn gyfanswm bychan—dogn o'r drwyth o owns i ddwy, yn ddyddiol, a mynychu fel byddo nerth yn goddef,—dogn o *elateruim*, dau ronyn. Mewn un achos bu i'r moddion hyn arllwys galwyn o ddwfr bob dydd, a lleihau y chwydd, un llath wrth fesur. Mae cyfferi syml ag sydd yn gwellhau y dyfrglwyf yr un modd. Mae yn cael ei wneuthur trwy ferwi tair llonaid llaw o risgl tufewnol ysgawen (*elder*,) mewn un chwart o laeth, hyd oni byddo yn un peint; yr hanner i'w gymeryd hwyr a boreu hyd oni welleir.'

## DYFRGLWYF YR YMENYDD. *(DROPSY OF THE BRAIN.)*

Arwyddion.—Mae hyn, yn fwyaf cyffredin, mewn plant ieuangc, ac yn rhagflaenedig, fynychaf, gan fwy neu lai o ymddangosiad ennyniad yr ymenydd—tymher anfoddog—brawychu pan yn nghwsg—gwyneb yn wridog—yn achlysurol mynegiad gwgus yn y gwynebpryd—amlygrwydd o ofid yn y pen—dihunedd—y coluddion yn farwaidd—tueddfryd i osod y pen yn isel—arloesygiad, a chyfogiad, pan ei dyrchefir—cyfyngiad yn nghanwyll y llygaid. Fel ag y byddo y casgliad yn cynnyddu, mae yr arwyddion yn cyfnewid—megys hurtrwydd a gorphwyllder gwastadol—dirdyniadau—parlys yn yr amrantau, neu un ochr i'r corff—canwyll y llygaid yn gyffredin, sydd yn ymledaenu. Mewn cyflyrau gohiriedig, mae chwydd amlwg yn y pen, ac esgyrn y pen yn oddfog, neu wedi eu gwthio allan.

Ffafriol.—Y lleisw a gwaddod trwm a drwgsawrus—y gwaedgur yn meddalhau, ac arllwysiad o'r ffroenau.

Anffafriol.—Dallineb, neu fyddarwch a hurtrwydd dirfawr—ymarllwysiad helaeth o leisw llwydaidd—ymgarthiadau gwlybyrog o'r coluddion—tymhigiad neu ddirdyniadau y cyhyrau.

Achosion.—Dynoethiad i oerfel—danneddu yn anhawdd—anfoddogiad y cylla, a'r coluddion—achosi enciliad i mewn darddiadau. Mewn rhai, ymddengys fod rhagdueddiad, megys ansawdd manwynog, &c. Mae sylweddau heintiol yn y coluddion, yn achos o ddyfrglwyf yr ymenydd mor fynych ag un peth, hyd yn nod annwyd.

Triniaeth.—1. Lleihau yr ennyniad, trwy gyfartalu y cylchrediad, ac felly attal tywalltiad meiddwaed i'r pen.

2. Pan fyddo y dwfr wedi casglu, gwneuthur ymdrech i'w waghau, trwy, annog y dyfrlynolion i weithrediad iachusol.

I'r dyben o leddfu yr ennyniad, mae yn ofynol arfer yr un moddion ag a gymeradwywyd mewn anhwylderau ennynol ereill. Mae yn ofynol baddio y traed mewn dwfr twym, ddwy waith neu dair y dydd, a chadw plastr o fwstard wrthynt yn barhaus, a golchi yr arwyneb yn aml gyda dwfr a *saleratus*.

Mae yn ymddibynu llawer iawn ar garthbeirau yn yr anhwyldeb yma; y cyfryw hefyd ag sydd yn effeithio ar bob cyfran o'r wythreden ymborthol. Mae y carthbair *jalaph* a *cream of tartar* yn gwneuthur hyny yn effeithiol. Mae yn anhawdd rhoddi un rheol gyflawn mewn perthynas i'r carthbeiriau, ond yn gyffredin, bydd yn ofynol eu gweinyddu bob dau neu dri diwrnod. Mae yn ofynol hefyd gwneuthur pob ymdrech i gynnyrchu chwysdarthiad. Rhodder y powdr chwysbarol bob dwy awr neu dair, a chymaint o de *spearmint* a allo y cylla gynnal, hyd oni byddo chwysdarddiad wedi cymeryd lle. Os na fydd y moddion hyny yn adferu y chwysdarthiad, (yr hyn sydd yn anhawdd hynod yn fynych, o achos cyflwr sychlyd a dirwasgol y croen,) bydded i fam y plentyn ei ddal uwch ben ager dwfr wedi berwi llysiau ynddo, megys *catnip*, *wormwood*, *boneset*, *&c*. Bydd yn ofynol gorchuddio y fam a'r plentyn, gyda gwrthban, neu rhywbeth cyffelyb, a gadael i'r ager fyned at groen noeth y plentyn. Os canfyddir fod yr ager yn gwneuthur lleshad, bydded iddo gael ei fynychu gymaint ag unwaith neu ddwy y dydd.

Yn gyffredin, pan fyddo dyfrglwyf yr ymenydd, mae y pen yn boeth anarferol; gan hyny, bydd yn angenrheidiol ei olchi yn aml â rhyw olchiad oerol. Mae y canlynol, yn gyffredin, yn hynod o effeithiol; sef, yr un faint o *whiskey*, dwfr gwlaw, a gwinegr, ac ychydig o

halen ynddo. Bydded iddo gael ei gymhwyso at y pen yn glaear, neu yn lled oer. Mewn rhai achosion, pan fyddo yr afiechyd yn ystyfnig, gellir rhoddi wrtho sugaethen o *slippery elm*, a'i newid cyn iddo sychu. Mae y moddion canlynol yn hynod o effeithiol yn yr anhwyldeb—hanner llonaid llwy de o bowdr *digitalis* mewn hanner llonaid cwpan de o ddwfr berwedig; dogn i blentyn un neu ddwy flwydd oed, llonaid llwy de, mewn llonaid llwy fwrdd o de *parsley*, bob dwy awr; mae hyn yn cynnyrchu arllwysiad y lleisw, ac yn lleddfu y cynhyrfiad. Os bydd yn angenrheidiol, gellir rhoddi y carthbair yn y boreu, ac wedi hyny y powdr chwysbarol amser gwely. Os bydd y gwres yn fawr yn y pen, bydd yn ofynol rhoddi plastr o fwstard y tu ol i'r gwddf, heblaw gwadnau y traed. Mae crafnidio y tu ol i'r gwddf, weithiau, yn hynod o effeithiol.

Os bydd y dwymyn yn parhau yn angherddol, rhodder y moddion canlynol:—cymerer *milck weed*, un owns; *spearmint*, hanner owns; *virginia snakeroot*, hanner owns; rhodder arnynt hanner peint o ddwfr berwedig; melyser gyda siwgr, a phan oero, ychwaneger un owns o *sweet spirit of nitre*; dogn, llonaid llwy de bob dwy awr neu dair. Bydd yn angenrheidiol cadw yr ystafell yn oeraidd, ac i raddau yn dywyll. Fel lluniaeth, rhodder te *arrow root*, *panado*, *&c.*

---

## DYFRGLWYF Y MEMRWN CELLAWG.
## *(DROPSY OF THE CELLULAR MEMBRANE.)*

Arwyddion.—Hyn sydd yn dywylltiad hylif, neu y meiddwaed, i'r rhwydwaith llysnafeddog o dan y glasgroen. Mae weithiau yn ymledaenu agos dros yr holl

gorff; pryd arall ond yn unig barthau neillduol. Dechreua, yn gyffredin yn y traed, a chynydda yn raddol tuag at i fynu; yn gyffredin, mae yn gydfynedol â chyflwr marwaidd a llesg y cyfangorff.

Yr arwyddion mwyaf hynodawl yn y dyfrglwyf yma ydyw, pan bwysir a'r bysedd ar y croen y bydd yn pantio, a'r pantiau yn aros am encyd o amser. Mae yn fynych yn gydgysylltiedig â dyfrglwyf y bol a'r ddwyfron.

Ffafriol.—Pan fyddo yr afiechyd yn annghydfynedol ag anhwyldeb angerddol arall. A phan fyddo, fel y mae yn gyffredin, wedi cael ei achosi gan anwyd —twymyn ysgarlad—gwaedlifiant, mae yn fynych yn gwellhau yn hollol.

Anffafriol.—Pan yn cyfodi oddiwrth afiechyd y galon, neu yr ysgyfaint, ac ymiseliad y nerth, neu wendid mawr yn gydfynedol.

Achosion.—Colliant y gwaed—llethiad y chwysdarth, yn enwedig ar ol y dwymyn ysgarlad, neu ddefnyddiad *mercury*—anfoddogiad y coluddion—enciliad i mewn darddiadau croenaidd—troedwst sefydlog—anhwyldeb peiriannol y galon, yr ysgyfaint, neu arenau—darymred, ac arllwysiadau gormodol ereill—defnyddio *arsenic* yn dufewnol, neu yn allanol—beichiogrwydd, neu un peth ag sydd yn atal dychweliad y gwaed trwy y gwythenau.

Triniaeth.—Mae yr anhwyldeb yma yn gofyn cyffelyb driniaeth a'r dyfrglwyf y bol. Rhodder yn gyntaf y carthbair canlynol:—cymerer *jalap*, *cream of tartar*, a *spearmint*, yr un faint o bob un wrth bwysau; cymysger oll yn nghyd, a rhodder llonaid llwy de bob tair awr, hyd oni effeithio yn helaeth ar y coluddion. Bydd yn ofynol gweinyddu y carthbair gymaint a dwywaith neu dair yr wythnos. Yn y cyfamser, rhwng y carthbeiriau, rhodder y moddion canlynol:—cymerer

rhysgl ysgawen, *(sweet elder)* un pwys; gwin da, un galwyn; berwer y rhysgl yn y gwin am awr, a hidler, wedi hyny ei gostrelu, a chymerer llonaid gwin-wydr dair gwaith y dydd, ac yfer yn helaeth o'r te canlynol ar yr un pryd—cymerer *indian hemp*, *milkweed*, *dandelion roots;* yr un faint o bob un.

Pan fyddo pob moddion arall yn methu, mae gweinyddu cyfogbeiriau yn fynych, wedi llwyddo i wellau amryw weithiau; gellir gweinyddu un gan fynyched a dwy waith yr wythnos. Mae yr agerfaddon yn hynod o effeithiol yn y rhywogaeth yma o ddyfrglwyf. Cymerer *tansy*, *hoarhound*, *hops*, *catnip*, a berwer hwynt mewn dwfr, a bydded i'r traed a'r coesau gael eu dal uwch ben y drwyth, gan boethed ac y gellir ei oddef; ac oni bydd hyny yn cynnyrchu chwys, rhodder yn y drwyth briddfeini poethion. Bydd yn ofynol gorchuddio y goddefydd gyda gwrthban, neu ryw beth cyffelyb, i'r dyben o gadw yr ager. Bydd yn ofynol i'r goddefydd, ar yr un pryd, yfed yn helaeth o ryw de chwysbarol, megys te *sage*, *hyssop*, *mint*, neu *catnip*. Os bydd yr afiechyd yn dal yn ystyfnig, rhodder undegpump, neu ddauddeg dyferyn o *tincture digitalis*, mewn te *spearmint*, dair gwaith y dydd. A chymerer hefyd y moddion canlynol—cymerer o *whortleberries* sychion, wedi ei bras falu, pedair owns, a rhodder arnynt gymaint o ddwfr berwedig ag a fyddo yn eu gorchuddio; gadawer iddynt sefyll am ddwy awr, wedi hyny ychwaneger un chwart o *holland gin* da; dogn, hanner llonaid gwinwydr dair gwaith y dydd.

Mae yn ofynol yn mhob rhywogaeth o'r dyfrglwyf, barhau i gymeryd y cyfferi am beth amser wedi cwbl wellhau, i'r dyben o atal dychweliad yr anhwyldeb.

## RHWYMEDD. *(COSTIVENESS.)*

Arwyddion.—-Yr ymgarth o ansawdd galed—yn achlysurol, darymred yn cymeryd lle—gwall-ymgarthiad o'r coluddion yn ddyddiol—suredd yn y cylla—yr eigian--gwallawydd at fwyd--yr anadl yn ddrwgsawrus. --gwyntogrwydd--lledewigwst, *(piles,)* ac anhwylderau gieuaidd. Mae yn fynych yn arddangosiad o anhwylderau ereill, ond yn aml yn wreiddiol a greddfol.

Achosion.—Y gwreiddiol achos yw gwall y symudiad gwringellaidd y coluddion, a diffyg yn nidoliad y geri *(bile)*—-gwneuthur defnyddiad parhaus o fara peilliad—ymarferiad eisteddol—cymeryd *opium*, neu ei ddefnyddio am hir amser—cyffeithiau argaeol—carthbeiriau cryfion—*mercury*—cig bras, yn enwedig cig moch—gwirod poethion—bwyta yn ormodol, ac unrhyw beth a fyddo yn tueddu i atal gweithrediad yr afu.

Triniaeth.—Mae yn ymddibynu llawer, i'r dyben o wellhau yr afiechyd yma, ar reol a gofal gyda yr ymborth, a gwneuthur ymgais i ymgarth ar amser penodol yn ddyddiol. Dyleu yr ymborth, gan mwyaf, fod yn gyfansoddedig o lysiau a ffrwythydd aeddfed, &c., bara wedi ei wneuthur o wenith wedi ei falu trwy yr eisin *(Graham's bread,)* &c. Ni ddylid byth arfer carthbeiriau cryfion, megys peleni Morrison a Brandreth.

Mae rhwymedd yn fynych yn cael ei achosi gan ddiffyg ymarferiad; pryd hyny nid oes dim a'i gwellha ond yn unig mabwysiadu hyny. Fel carthbair esmwyth, cymerer llonaid llwy de o *electuary of senna*, dair gwaith y dydd. Os bydd yr achos yn tarddu oddiwrth anhwyldeb yr afu, cymerer tair o'r peleni afuol, hwyr a'r boreu. Ac os bydd yr anhwyldeb yn dal yn ystyfnig wedi hyny, cymerer tair neu bedair o beleni wedi eu gwneuthur o *Ipecacuanha*, yn nghyfnod y dydd.

## CLWYF MELYN. *(JAUNDICE.)*

Arwyddion.—Mae yn gyffredin yn gydfynedol a syrthni—cysgadrwydd—rhwymedd—suredd yn y cylla—poen yn yr ochr chwith—yn nghyd a melynder y croen a'r llygaid. Weithiau, bydd pob gwrthddrych yn ymddangos o wawr felyn, ac yn achlysurol, y croen fydd o ymddangosiad tywyll, neu wyrddaidd, yn hynodi yr hyn a elwir y clwyf melyn dû *(black jaundice.)* Y tafod sydd orchuddiedig gan ban felen, ac archwaeth chwerw yn y genau, ysfa dros yr holl gorff, a'r ymgarth o liw clai. Weithiau, ni pharha ond ychydig wythnosau, bryd arall mae yn ystyfnig anarferol.

Achosion.—Rhyw beth a rhwystra bibellau yr afu, ac a achosa sugnedd y geri i'r cyfansoddiad. Yr hyn a elwir cerrig y bustl, weithiau, sydd yn gwneuthur y rhwystr; adnabyddir hyny wrth boen llymdost a dyspeidiol yn yr ochr ddehau, yn agos i bwll y cylla.

Triniaeth.—Mae yn gyffredin, yn ofynol gweinyddu cyfogbair ar ddechreu triniaeth yr afiechyd yma, ac wedi effaith hyny, a phan fyddo y cylla wedi ymsefydlu, rhodder dogn o'r carthbair *mandrake*, yn nghyd a *cream of tartar* a *cloves*. Bydd yn ofynol mynychu y carthbair yn ol ystyfnigrwydd yr anhwyldeb. Wedi hyny, rhodder y moddion canlynol;—*golden seal*, un dram; *bitter root*, dwy ddram; *white poplar bark*, dwy ddram; *cayenne pepper*, un dram. Gorchuddier oll yn nghyd â dwfr berwedig, a phan oero, ychwaneger un peint o *holland gin*, a bydded i'r goddefydd gymeryd o hanner i lonaid gwin-wydr dair gwaith y dydd. Yn nghyfnod yr un amser, cymerer y drwyth ganlynol:—gwraidd *dandelion* a *bayberry bark*, wedi eu bras falu, a'u gwneuthur yn de cryf, ac yfer yn helaeth yn nghyfnod y dydd. Os bydd y moddion blaenorol yn

methu, cymerer llonaid llwy de, hwyr a boreu, o *elixir proprietatis*. Mae hwn yn hynod o rinweddol ac effeithiol yn yr anhwyldeb yma. Rhaid i'r ymborth fod yn ysgafn a maethlon. Gellir cymeryd ŵy anmrwd dair gwaith y dydd.

## MEMRWN GAU. *(FALSE MEMBRANE.)*

Y sylwedd heintus yma sydd yn gorchuddio y memrwn llysnafeddog, y cylla, a'r coluddion, yn nghyfnod agos i bob afiechyd, yn enwedig os bydd o hir barhad. Mae o liw llwydaidd, o wawr wyn, ac yn meddu cryn lawer o gadernid. Yn ol pob arwyddion, ymddengys fod y sylwedd yma mewn llawer o gyflyrau yn gorchuddio tufewn i'r wythreden ymborthol. Mae yn wybodus iddo fod yn dyfod ymaith gyda yr ymgarth am wythnosau yn olynol. Arllwysir yn gyffredin yn llarpiau, ond weithiau mae yn dyfod mewn ffurf chwibolaidd, tebyg i goluddyn. Mae weithiau yn dew, cadarn, a gwydn, ond ymddengys ei fod yn ymddifad hollol o lestri gwaed a giau. Mae yn debyg i'r memrwn a besychir i fynu gan blant yn y gwddfgaethiad, yr hyn a achosir, mae yn ddiamheuol, gan dywalltiad dyfrlyn *(lymph,)* pa un ar y cyntaf sydd feddal, ond yn ymgaledu yn raddol, ac yn ymgymeryd ffurf memrynaidd.

Gwybodaeth drwyadl o'r sylwedd heintiol yma, sydd o fawr bwys ymarferol, wrth drin afiechyd. Pan fyddo wedi arwisgo yr arwyneb tufewnol y cylla, a'r coluddion, mae yn ymyraeth a'r gynghawsedd dreulbair, ac yn atal, i raddau, ddyddyfniant y caul yn y wythreden ymborthol, a thrwy hyny nis gall y corff gael ei feithrin. Hyn, i raddau, sydd yn rhoddi eglurhad o'r ymddangosiad teneu a chelaneddog llawer o bobl o ymarferiad eis-

teddol, sydd yn cael eu cystuddio gan anhwylderau sefydlog. Yn yr oll o'r afiechyd sefydlog, neu hirbarhaol, rhaid i arllwysiad y memrwn yma gymeryd lle cyn ceir iachad. Mae y memrwn gau wedi bod dan sylw beirniadol y côr meddygol trwy Ewrop.

Triniaeth.—Cyffelyb i'r hyn a gymeradwywyd yn y clwyf melyn, oddigerth bod yn ofynol, weithiau, weinyddu cyfogbeiriau yn fwy mynych. Yfer hefyd yn helaeth o de *witch hazel* a *raspberry leaves.*

---

## GRAENWST A'R GAREGWST. *(GRAVEL & STONE.)*

Arwyddion.—Pan fyddo graean yn yr arenau, mae poen sefydlog yn y lwynau—marweidd-dra yn y glun, a'r ochr effeithiedig—enciliad y caill—awydd mynych i wneuthur dwfr—arloesygiad, a chyfogiad. Pan fyddo y graean yn myned o'r arenau i'r bledren, mae yn gydfynedol a phoenau dirfawr, ac yn fynych mae y boen yn arteithiol. Pan fyddo careg yn y bledren, bydd tuedd mynych i wneuthur dwfr, ac ymgarth o'r coluddion—teimlad anesmwyth yn mlaen y rhodnell *(penis)*—poen llymdost yn yr ymysgaroedd—ymystwyro a chyfogiad—a'r lleisw weithiau yn waedlyd—ei fynedfa allan yn fynych sydd yn cael ei luddias—a'r boen, yn gyffredin, sydd fwyaf yn ddiatreg wedi ei ollwng.

Achosion.—Y graean sydd ronynau bychain daearaidd, fel tywod. Eu ffurfiant sydd yn cael ei briodoli i ansawdd suraidd y lleisw. Y gareg sydd o'r un natur, ond wedi ymgorffoli yn fwy. Maent i'w cael yn yr arenau a'r bledren. Y graean yn anfynych sydd yn ffurfio yn gareg. Y rhywogaeth yma o afiechyd, yn fwyaf cyffredin, sydd yn gorddiwes yn nghyfnod mab-

andod a'r oedranus. Mae cyffelybrwydd yn y sylwedd heintiol sydd yn ffurfio yn y droedwst, a'r un ddefod o fyw sydd wedi bod, yn fynych, yn achos cynnyrchiol y naill a'r llall.

TRINIAETH.—Y peth blaenaf wrth drin yr anhwyldeb yma yw, ymdrechu bwrw allan y graean, trwy lachau y cyfangorff a'r parthau effeithiedig. Yn ail, gweinyddu lleiswbeiriau. Mae *opium* yn hynod o ddefnyddiol, nid yn unig i'r dyben o esmwythau y goddefydd, ond hefyd, y mae ar yr un pryd yn llachau y cyfangorff. Os bydd poen dirfawr yn y meingefn, neu waelod y bol, cymhwyser twymolchiadau cynnwysedig o *hops*, *spearmint*, *catnip*, *&c*. Hefyd, bydded i ymdrech gael ei wneuthur i gynnyrchu chwysdarthiad, gan faddio y traed mewn dwfr twym, ac yfed yn helaeth o de *spearmint*. Os bydd diffyg gwneuthur dwfr, cymerer o *spirit of mint*, a *spirit of nitre*; yr un faint o bob un. Mae y *spirit of mint* yn cael ei wneuthur fel y canlyn: —cymerer y llysiau pan fyddont yn lâs, rhodder cymaint o *holland gin* ag a fyddo yn eu gorchuddio, a bydded iddynt sefyll ynddo am bedwar neu bump diwrnod. Gellir cymeryd cyfran gyfartal o hono a *spirit of nitre*, a'u cymysgu yn nghyd; dogn, llonaid llwy de i lonaid llwy fwrdd, bob tair neu bedair awr. Pan fyddo yr achos yn ymddangos yn ddiriad, bydd yn ofynol defnyddio y baddon twym, i'r dyben o gynnyrchu llachad digonol i esmwythad. Mae yn ofynol i'r goddefydd, hefyd, yfed yn helaeth o ddiodydd teneuon a llwsaidd, megys *slippery elm*, *parsley*, *&c*. Bydd yn angenrheidiol gweinyddu carthbeiriau yn achlysurol; hefyd, chwistrellau meddalhaol. Os na fydd y goddefydd yn cael esmwythad, wedi cymeryd y moddion blaenorol am ychydig o ddyddiau, cymerer *acetate of potash*, dwy ddram; mêl hanner owns; *spirit of turpentine*, hanner dram; *carbonate of soda*, hanner dram; te *mint*, wyth

owns; cymysger—dogn, dwy lonaid llwy fwrdd, dair gwaith y dydd. Fel peth cyffredin, mae sug wynwyn cochion, dwy lonaid llwy de, mewn hanner peint o de *horse mint*, hwyr a boreu, yn un o'r pethau mwyaf effeithiol. Os bydd amheuaeth fod careg wedi ffurfio, cymerer y moddion canlynol:—*castile soap*, un owns; dau-ddeg dyferyn o *oil of juniper;* ffurfier yn beleni o faint pysen;—dogn, tair neu bedair, dair gwaith y dydd. Yfer hefyd yn helaeth o'r drwyth ganlynol, trwy gyfnod y dydd;—*burdock*, *dandelion*, *wild carrot*, yr un faint o bob un. Mae yn ofynol profi ansawdd dwfr y cyfryw ag sydd yn cael eu poenydio gan y graeanwst a'r gareg. Mae weithiau o ansawdd sur, yr hyn a ellir ei brofi trwy rhoddi ychydig o *soda* ynddo; os bydd yn sur, ceir gweled cynwrf berwedig. Ac os na fydd y *soda* yn achosi iddo ferwi, rhodder suredd, megys gwinegr, neu *muriatic acid*, ac os bydd yn cynnwys gormodedd o *alkali*, gwna y suredd iddo gynhyrfu. Os bydd yn cynnwys gormodedd o suredd, bydd yn ofynol gweinyddu fel meddyginiaeth *alkali*, megys, *soda*, *saleratus*, *&c*. Os bydd y gareg wedi ffurfio i'r fath raddau fel na bydd mwyach yn ddichonadwy ymadael a hi, trwy gyfferi, bydd yn ofynol myned at feddyg i gael ei thynu gydag offerynau. Os bydd y boen yn ddirfawr, yn y dechreu, gellir rhoddi deg gronyn o'r powdr chwysbarol bob tair neu bedair awr. Dyleu y cyfryw ag sydd yn dueddol i'r graeanwst, fod yn ofalus i beidio oeri, na dynoethi eu hunain i wlybaniaeth.

---

## GLASGLWYF. *(CHLAROSIS.)*

ARWYDDION.—Gwedd welwlas—gwendid—dihoenedd—dychlamiad y galon—poenau yn y cefn, lwynau,

a bonau y cluniau—rhwymedd—gwyntogrwydd a suredd yn y cylla—awydd aruthrol am sialc, golosg-goed, clai, cyffeithiau, &c. Fel ag y byddo yr afiechyd yn cynnyddu, y gwynebpryd fydd yn ymgymeryd gwawr felynaidd, yn tueddu at wyrddlas, yr hyn sydd wedi rhoddi i'r afiechyd yr enw Glasglwyf. Y llygaid fydd yn amgylchedig gan gylch dulas—chwydd dyfrglwyfus yn y traed—arwyddion gieuaidd—y gwaed yn gyflym a gwan—gwaedlif o'r ffroenau, cylla, a'r ymysgaroedd, neu y groth—y gwaed fydd o ymddangosiad llwyd a dyfrllyd. Mae yn aml yn terfynu yn y dyfrglwyf, a'r darfodedigaeth ysgyfeinaidd.

Achosion.—-Ymarferiad eisteddawl—dyffyg awyr bur—-bywoliaeth gloddestgar—-anwyd, neu unrhyw beth annaturiol a achosa ataliad y misglwyf, o herwydd hyny yw y gwreiddiol achos o hono. Benywaid ieuaingc a dibriod sydd fwyaf tueddol iddo.

Triniaeth.—Trwy fod yr afiéchyd yma yn cael ei achosi gan wendid cyffredinol, bydd yn ofynol gweinyddu y fath gyfferi ag a fydd yn tueddu i gryfhau y corff yn gyffredinol. Ac os bydd wedi ei achosi gan ymarferiad eisteddol, bydd yn ofynol i'r goddefydd, rhagblaen, roddi hyny heibio, a chymeryd ymarferiad yn yr awyr agored; ac os yn ddichonadwy, hefyd newid y trigfan. Bydded hefyd i'r goddefydd arfer y baddon twym, bob dydd neu bob yn ail dydd; ac os bydd llawer o boen yn bodoli, gellir cymeryd deg gronyn o'r powdr chwysbarol amser gwely, a chymhwyser twymolchiadau at y bol. Cymerer dwy neu dair o'r peleni benywaid ddwy neu dair gwaith y dydd, a defnyddier yr *elixir propritatis* fel carthbair, ddwywaith neu dair yr wythnos. Os na fydd y moddion hyny yn effeithio, cymerer y moddion canlynol:—*gum guaicum*, wedi ei falu, pedair owns; *carbonate of soda*, neu *potash*, hanner dram; *allspice* wedi eu malu, un owns;

*alcohol* ag ychydig o ddwfr ynddo, un peint; gadawer iddynt sefyll yn yr *alcohol* bedwar neu bump diwrnod; wedi hyny, rhodder dwy ddram o *carbonate of ammonia*, yn mhob pedair owns o'r tincture; dogn, llonaid llwy de mewn ychydig o laeth, neu win, hwyr, a boreu, a chanol dydd, gan fwyhau y ddogn yn raddol. Mae yn ofynol i'r ymborth fod yn ysgafn a maethlon.

---

## DARYMRED. (*DIARRHÆA.*)

Arwyddion.—Rhyddni, ac arllwysiad annghymedrol o'r coluddion, yn gydfynedol a theimlad dihoenllyd cynhyrfiad a phoen crafangol yn yr ymysgaroedd. Weithiau, ymarllwysir ymborth annhreuliedig, ac mewn rhai achosion, gwlybwr gwyn tebyg i gaul. Mae yn gydfynedol deneuhad anarferol, y croen yn dyn, a sychlyd.

Achosion.—Un rhywogaeth a gynnyrchir, yn fynych, gan garthbeiriau cryfion, neu un peth a gynhyrfa y coluddion. Weithiau, y darymred a ddygwydd yn yr orsaf olaf o'r darfodedigaeth ysgyfeinaidd, a chlefydau ereill; yn y cyflyrau hyny, yr ymgarth sydd ddyfrllyd ac annaturiol. Mewn rhai clefydau, pan ddygwyddo yn uchder y clefyd, mae yn argoel dda, yn enwedig pan fyddo o nodweddiad geriaidd, neu yr ymgarth yn felynaidd. Darymred a ddygwydd yn fynych ar blant wrth fagu dannedd. Mae amrywiol achosion i'r parhaol, neu y sefydlog; megys lluniaeth anmhriodol—gormodol gywestach—dynoethiad i oerfel—*mercury*—carthbeiriau cryfion, megys Morrison pills, &c.

Triniaeth.—Wrth drin y darymred, mae yn ofynol rhoddi sylw i'r arddangosiadau canlynol—

1. Lleddfu neu symud yr achos heintiol.
2. Adferyd grym y parthau.

Pan fyddo yn cyfodi oddiwrth orlawnder, neu sylweddau anmrwd yn y cylla, rhodder cyfogbair tyner yn yr hwyr, a charthbair tyner yn y boreu. Os bydd wedi cael ei achosi gan lethiad y chwysdarth, trwy ddynoethiad i oerfel, mae yn ofynol, pryd hyny, adferyd hyny trwy weinyddu cyfferi chwysbarol. Nid yw yn angenrheidiol, ond anfynych, gweinyddu cyfogbair yn y darymred, oddigerth ei fod o hir barhad, ac yn hynod o ystyfnig. Mae y meddyglyn gwrthsur, yn gyffredin, yn rhoddi ataliad arno mewn ychydig amser. Gellir ei roddi bob awr, hyd oni byddo yr ymgarthiadau wedi cyfnewid yn eu hymddangosiad. Wedi byny, gellir estyn y cyfrwng i bob tair neu bedair awr, ac o'r diwedd, un waith y dydd fydd yn ddigonol. Mae golosggoed wedi eu malu, yn hanner yn hanner a *magnesia*, yn hynod o effeithiol;—dogn, i blentyn blwydd oed, llonaid llwy de, dair gwaith y dydd, mewn dwfr wedi ei felysu, neu laeth. Mae yn ofynol i'r goddefydd fyw ar laeth a blawd gwenith, neu *rice*. Gellir arfer *chicken broth*. Os bydd y darymred o ansawdd hirbarhaol, wedi yn gyntaf arfer y meddyglyn gwrthsur, rhodder y moddion canlynol:—*cinnamon* hanner owns; *nutmeg*, chwarter owns; *peruvian bark*, hanner owns; berwer oll yn nghyd mewn peint a hanner o ddwfr, am hanner awr, wedi hyny hidler trwy liain, a melyser gyda siwgr gwyn, a phan oero, ychwanegr ato un peint o *port wine*;—dogn, o lonaid llwy fwrdd i ddwy, i berson mewn oed, a llonaid llwy de i blentyn, bedair gwaith y dydd.

---

## DYFERWST. (*CATARRH.*)

Arwyddion.—Mae yn gyffredin, yn dechreu gyda ystrewiad, a dylifiad dyfrllyd o'r ffroenau, yr hyn o'r

diwedd fydd yn dyfod yn dew, o liw melyn neu wyrdd; ac wedi hyny o ansawdd crawnllyd, yn gydfynedol ac arogl neillduol—poen yn y talcen—ac yn achlysurol beswch.—Gall barhau am flynyddoedd. Un rhywogaeth sydd yn ymdaenu i'r ysgyfaint, ac yn achosi y darfodedigaeth.

Achosion.—Esgeuluso anwyd neu oerfel, a hyny yn achosi ennyniad parhaol yn mhibellau y pen.

Triniaeth.—Golcher y pen a'r ysgwyddau â dwfr oer, a defnyddier y *cephalic snuff*. Os na bydd hyny yn ei wellhau, mae y moddion canlynol yn hynod o rinweddol;—cymerer *sage*, llonaid llwy fwrdd; pupur duon, llonaid llwy de; oll wedi eu malu; rhodder mewn pibell, ac ysmyger dair neu bedair gwaith y dydd, a chymheller y mwg trwy y ffroenau. Mae Dr. Leavit yn canmol yr ystrewlwch canlynol yn fawr; *blood root*, *gum arabic*, a *gum myrrh*, rhan gyfartal o bob un, wedi eu malu yn llwch a'i ogrynu trwy sidan, wedi hyn ei gymeryd fel ystrewlwch, amrywiol weithiau yn nghyfnod y dydd.

---

## TROETHLIF. *(DIABETES.)*

Arwyddion.—Llifiant anarferol y lleisw, weithiau yn fesur aruthrol—syched mawr—awydd bwyd gwancus—y croen yn sychlyd ac afrywiog—arwyddion gwalldreuliad—y cnawd yn treulio ymaith yn gyflym. Mewn un rhywogaeth mae y lleisw o archwaeth felus, ac yn cynnwys siwgr. Mae yn beth hynod, er fod y corff mewn cyflwr dyhysbyddedig, fod yr anhwyldeb yma, weithiau er hyny, yn terfynu yn y parlys mud (*apoplexy*.) Dichon hefyd derfynu yn y darfodedigaeth a'r dyfrglwyf.

ACHOSION.—Y gwreiddiol achos yw cyflwr llachaol a chynhyrfus yr arenau, a diffyg gweithrediad y croen. Yr achosion cynhyrfiol yw dynoethiad i oerfel—boddhau y nwydau yn ormodol—niweidiau yn asgwrn y cefn. &c.

TRINIAETH.—Mae yn ofynol cadw y coluddion yn agored, a'r croen yn wlyddaidd, a bydded i'r goddefydd gymeryd y moddion canlynol:—*bethroot*, *black cohosh*, *crain's bill*, *wild cherry*, *a hemlock bark*, yr un faint o bob un, oll wedi eu malu. Wedi hyny, cymerer llonaid llwy fwrdd o'r powdr, rhodder un peint o ddwfr berwedig arno, ac yfer o hono yn oer yn helaeth trwy gyfnod y dydd. I leddfu cynhyrfiad ac arwyddion twymynaidd, rhodder y powdr chwysbarol amser gwely, a golcher arwyneb y croen yn fynych a dwfr twym a *saleratus* ynddo. Os na fydd yr anhwyldeb yn gwellhau wrth ddefnyddio y moddion blaenorol, rhodder tair neu bedair o beleni wedi eu gwneuthur o *cayenne pepper*, hwyr a boreu, a rhodder plastr cryfhaol ar y cefn. I'r dyben o gynnal nerth y goddefydd, ac adferyd grym a nerth y corff, cymerer dogn o'r meddyglyn adferiadol dair neu bedair gwaith y ddydd.

Mae y carthbair *jalap* a *cream of tartar* mor addas yn yr anhwyldeb yma a'r un.

Cafodd un person ei wellhau yn hollol, trwy fyw yn unig ar gig eidion wedi ei ferwi yn dda. Bydd yn ddaioni i'r cyfryw ag sydd yn cael eu poeni gan y troethlif, gyfyngu eu hunain at gig eidion.

---

## DYLIF GWYN. *(FLUOR ALBUS.)*

ARWYDDION.—Yr afiechyd yma a enwir weithiau y Dylif Gwyn, sydd yn ddylifiad afiach o'r *Vagina;*

weithiau fel llysnafedd cyffredin. Mewn cyflyrau drwg, mae yn wyn, cyffelyb i sythai, (*starch*) cymysgedig a gwlybwr llysnafeddog. Weithiau, mae y dylif o ymddangosiad cyffelyb i grawn, ac o ansawdd sur ac ysol. Mae yn gydfynedol wedd welw—traed a dwylaw oerion—arwyddion gwalldreuliad—poen yn y lwynau a'r aelodau.—gwendid a phryder meddwl.

ACHOSION.—Ymarferiadau eisteddol—bywyd gloddestgar, a phob peth ag sydd yn tueddu i wanhau y peiriannau cenedlaethol.

TRINIAETH.—Os bydd y cylla mewn cyflwr drwg, gellir rhoddi cyfogbair ar y dechreu, ac yn achlysurol garthbair tyner. Wedi hyny rhodder y dyferion lleiswbair, hanner llonaid llwy de mewn llonaid gwinwydr o laeth, neu un math o de, dair gwaith y dydd. Rhodder blastr cryfhaol wrth y cefn. Bydded i'r goddefydd yfed te o gyfran gyfartal o *hollyhoke*, a *rose leaves*. Os bydd yr arllwysiad yn parhau wedi defnyddio y moddion blaenorol, am ysbaid o amser, bydded i'r chwistrellau canlynol gael eu chwistrellu i'r *vagina*, gyda *female syringe*, hwyr a boreu:—cymerer *white oak bark*, *sumach berries*, neu y rhisgl, *witch hazel bark*, *hemlock bark*, llonaid llwy fwrdd o bob un, berwer mewn un chwart o ddwfr am hanner awr, wedi hyny hidler, a rhodder yn mhob peint lonaid llwy de o *alum* wedi ei falu. Gwellhaodd y moddion canlynol nifer wedi i bob peth arall fethu:—*tincture of aloes*, un owns; *muriatic tincture of iron*, dwy ddram; cymysger—dogn, pedwardeg dyferyn mewn ychydig o ddwfr, dair gwaith y dydd. Chwistreller i'r groth, gyda *female syringe*, y moddion canlynol, hwyr a boreu:—*sugar of lead*, un dram; *white vitrol*, un dram; rhodder arnynt un peint o ddwfr gwlaw.

## HADLIF. *(GONORRHÆA.)*

Arwyddion.—Mae amrywiol o anhwylderau o dan y pen yma; o'r unrhyw y mae un yn heintus neu gynnghlwyfus, am yr hyn gwel yr Anlladwst. Ond y rhywogaeth a olygir yma, yw anfoddus arllwysiad yr had tra yn nghwsg, ac yn fynych pan yn ddeffro. Mae yn gyffredin yn gydfynedol a breuddwyd cywestachol. Ac fel canlyniad yn aml, mae y corff yn myned yn deneu eithaf; yn nghyd â gwendid anarferol y meddwl; ac y mae yn achos rhagdueddol i bob afiechyd.

Achosion.—Rhagfeddyliau chwantus—hunan-halogrwydd, &c. Wele yn ganlynol farn Dr. Beach:—"Y testun yma, o herwydd ei natur, ni thraethir am dano yn gyffredin gan awduron. Ond nid oes yr un yn fwy pwysig o herwydd mae y canlyniadau o'r fath mwyaf difrifol. Yr hâd yw y rhan mwyaf treiddiol, bywydawl, a nwyfreaidd o'r corff. Mae yn cyfranogi at gynnaliaeth y giau yn gystal a chynnyrchiad y rhyw ddynol, a'i arllwysiad mewn un modd nid yw yn angenrheidiol. A phan ei cedwir mae yn ychwanegu nerth yn y cyfansoddiad. Mae wedi cael ei brofi, trwy gyfarchwiliad y dynsoddwyr mwyaf galluog, fod y gwlybwr puraidd yma yn cael ei adsugno a'i gymysgu gyda y gwaed, o ba un y mae yn gyfansoddedig; ac y mae yn gyfansawdd hyd yn nod o'r rhan mwyaf godidog a bywiol o'r gwaed. Mae yn cyfranu i'r corff neillduol fywiogrwydd, hoywedd, a grym. Yr effeithiau godidog a buddiol hyn nis gellir eu cynnyrchu os gwastraffir yr had yn nwyfus ac annoeth. Heblaw bod ei ddanfoniad allan yn gydfynedol a lludded, ac ymiseliad y corff, mae y giau yn gwanychu, a thrwy hyny y meddwl. Am hyny, ni ddyleu gael ei arllwys ond yn unig pan fyddo yn ormodol, ac hyd yn nod y cyflwr hyny nid yn an-

naturiol." Llawer mwy a ellid ddyweyd mewn perthynas i hyn, ond ystyriwyf hyn yn ddigonol i bawb ag sydd yn meddu synwyr cyffredin. Gwel Deslandes a Graham ar y testyn yma, a Berkland's *Physiology*.

Triniaeth.—Mae yn ofynol i'r goddefydd atal oddiwrth hunan-halogrwydd; ac ymdrechu cyfnewid y meddwl, i'r fath raddau, fel y byddo hyd yn nod yn cael effeith yn nhrymder cwsg. Cyfeirio y meddwl at wrthddrychau sylweddol, ac atal iddo gael ei reoleiddio gan y nwydau. Mae yn gyffredin, pan fyddo yr anhwyldeb wedi bodoli am yspaid o amser, wendid mawr y corff a'r meddwl. Yn y cyflwr hyny, bydd yn ofynol gweinyddu moddion i lanhau y cylla a'r coluddion, a gweinyddu cyfferi cryfhaol. Mae y meddyglyn gwin yn meddu y briodoledd hyny, ac yn hynod o addas yn yr anhwyldeb yma. Ac os bydd yr afiechyd yn parhau yn ystyfnig, rhodder y moddion canlynol:—*tincture of cinnamon*, un owns; *muriated tincture of iron*, dwy ddram; dogn, llonaid llwy de dair gwaith y dydd. Mae golchi y croen, unwaith neu ddwy y dydd, yn hynod o angenrheidiol yn yr anhwyldeb yma. Mae yn ofynol ar y dechreu weithiau, weinyddu cyfferi lleiswbair. Mae y dyferion lleiswbair mor briodol a'r un arall.

---

## GORWELIAU. *(ULCERS.)*

Archollion yn fynych, pan eu trinir yn briodol, a unant heb ddim ond ychydig o arllwysiad; hyn a enwir yn iachad yr amcan cyntaf. Mewn achosion ereill, cyn iddynt iachau, y maent yn dydoli gwlybwr gwyn, cyffelyb i hufen, a elwir yn grawn. Hwn, weithiau, sydd yn afrywiogi, ac yn myned yn llym ac ysol; ac felly,

yn ysu y croen a'r parthau amgylchynol. Y dolur y pryd hyny sydd yn cael ei ystyried mewn ansawdd gorweliol.

## GORWELIAU IACHUS.

Y rhai hyn sydd yn dydoli crawn, heb un trwsiad arall, ac yn ffurfio cramen, islaw hyny mae y parthau archolledig yn llawn o benrynau bychain, pa rai ydynt ail-gynnyrch o grawn a elwir gronyniad.

## GORWELIAU ANFODDOG.

Mae y cyfryw yn dygwydd pan fyddo ansawdd y corff yn afiachus; ac nid yw y gronyniad yn eglur; ond mae y dolur o liw gwyn, yspyngaidd, wedi ei orchuddio gan wlybwr dyfrllyd; a thrwy driniaeth anmhriodol, ennyna a gwrthreda yn ddolur ffyrnig.

## GORWELIAU MARWAIDD

Yn y cyfryw, mae ymylau y croen amgylchynol yn llyfn, talgrynedig, a bargodol. Y gronynau sydd lyfn a gwanaidd, ac yn chwanog o gael eu dadgyfansoddi. Mae y crawn yn cael ei ffurfio yn anmherffaith a gludiog, a'r cyfan yn ymddangos fel cyfran dydoledig o groen, heb un ymdrech i'w adferu. Weithiau, mae y croen amgylchynol o ymddangosiad tywyll adwythig. Y rhywogaeth yma o orweliau sydd i'w cael fynychaf ar goesau hen bobl, morwyr, meddwon, a'r cyfryw ag sydd a'u gwaed mewn cyflwr drwg.

TRINIAETH.—Pan fyddo ennyniad yn bodoli, bydd yn ofynol trin hyny trwy gymhwyso sugaethen, &c. Bydded i'r parth gael ei olchi, yn fynych, gyda *castile soap* a dwfr gwlaw, at yr hyn gellir ychwanegu ychydig

o *whiskey*. Wedi hyny, cymhwyser *lint* wedi fwydo mewn dwfr a halen, a sugaethen ar hyny. Os bydd agoriadau bychain, dyfrllyd, a llawer o wlybwr teneu yn rhedeg allan, todder un gronyn o *lunar caustic* mewn hanner peint o ddwfr, a golcher y gorweli unwaith neu ddwy y dydd. Pan fyddo yr ennyniad wedi lleddfu, defnyddier yr eli canlynol:—cymerer *sweet clover*, y coesau a'r topiau, dail *burdock*, a *parsley*, llonaid llaw o bob un; berwer mewn dwfr hyd oni cheir eu nerth; yna hidler ac ychwaneger un pwys o ystor *(rosin,)* a chwarter pwys o fenyn heb halen; berwer y cwbl yn nghyd ar dân araf, hyd oni byddo yn eli. Mae un peint o *French brandy*, a hanner pwys o halen cyffredin ynddo, yn hynod o effeithiol. Gellir profi hyny pan fyddo moddion ereill yn methu. Mae gorweliau ar y coesau, yn gyffredin, yn anhawdd hynod i'w gwellhau, trwy fod y goddefydd yn gorfod bod uwchben ei goesau; mae hyny yn cynhyrfu y gorweliau. Mae gorweliau yn y coesau yn cael eu hachosi gan ymlaesiad y gwythenau, ac nid oes un modd i wellhau y cyfryw ond yn unig trwy rwymo yr aelodau a rhwymyn yn dyn. Yn fynych, mae ansawdd corff y cyfryw ag sydd a gorweliau ar eu coesau, yn hynod o farwaidd, a thrwy hyny, nid oes digon o fywyd yn y corff i gynnyrchu gweithrediad iachaol. Mae yn ofynol i'r cyfryw gymeryd cyfferi adfywhaol, megys *puruvian bark* a gwin, y meddyglyn adferiadol, &c. Gellir hefyd gymeryd undeg-pump neu ddauddeg dyferyn o *spirit of turpentine*, dair gwaith y dydd. Rhodder wrth y doluriau y moddion canlynol:—*nitric acid*, hanner owns; a rhodder mewn un peint o ddwfr gwlaw. Gwlycher *lint* yn y cymysgedd, a rhodder ar y doluriau. Gellir hefyd olchi oddiamgylch i'r doluriau a'r un peth. Dyben cymhwysiad y moddion hyn, yw cynnyrchu bywyd, neu weithrediad iachusol yn y gorweliau, a'r parthau amgylchynol. Bydd

yn ofynol parhau y cymhwysiad o hono hyd oni chanfyddir hyny wedi cymeryd lle. Mae yr eli canlynol yn rhagorol o dda, am sychu hen archollion:—cymerer hanner pwys o floneg; *red lead*, un owns; *white lead*, un owns; cwyr melyn, dwy owns; berwer y cwbl yn nghyd am dri chwarter awr, ar dan araf, ac at ddiwedd y berwad, ychwaneger dwy owns o *venus turpentine*, a phan ei tynir oddiar y tân, bydded iddo gael ei droi hyd nes oero. Taener ychydig o'r eli yma ar liain, a rhodder wrth y doluriau, gan ei newid ddwy waith y dydd. Mae yn angenrheidiol i'r rhai y mae gorweliau marwaidd ar eu coesau, pan fyddo modd, bob amser ddal eu coesau yn wastad, o herwydd mae hyny yn rhoddi cynnorthwy i'r gweithrediad iachusol.

---

## MADREDD. *(GANGRENE.)*

Pan fyddo parth yn troi yn anarferol o feddal, tywyll, ac yn colli ei deimladrwydd, er iddo fod yn meddianu gradd o gylchrediad, mae yn cael ei ystyried mewn cyflwr madreddog, y gorsaf cyntaf o farwlygriad. Pan fyddo parth yn myned yn ddu, a man-edafog, ac annheimladwy, ac heb ddim cylchrediad gwaed ynddo, ac weithiau yn orchuddiedig gan bothellau, yn clindarddach wrth wasgu arnynt, mae yn cael ei ystyried yr orsaf olaf o farwlygriad.

Triniaeth.—Pan fyddo ennyniad yn cael triniaeth briodol, nid yw ond anfynych yn terfynu mewn madredd. Mae yn ofynol pan fyddo madredd wedi cymeryd lle, neu dueddiad i hyny, arfer moddion gwrthbydrol yn lleol a chyfansoddol. Os bydd yn gydlynol, neu yn ymddibynu ar ennyniad rhaid arfer moddion i oresgyn hyny. Os gwendid y corff fydd y rhagdueddol achos,

rhaid cyweirio hyny trwy adferyd nerth y goddefydd gyda chymhellyddion *(stimulants,)* megys gwin, ac ymborth maethlon, &c. Dylid hefyd gweinyddu meddyginiaethau cryfhaol, megys y meddyglyn gwin, *peruvian bark*, *quinine*, *&c.* Pan fyddo pothellau yn ymddangas o ddeutu unrhyw barth, yn rhagddangos tueddiad i farwlygriad, neu oddiar bob debygolrwydd fod cyfran wedi llygru, cymhwyser y sugaethen ganlynol: cymerer burum, swm digonol, cymysger ynddo *slippery elm bark*, gymaint a fyddo yn eu wneuthur yn ddigon trwchus o sugaethen, a chymhwyser at y parth yn dwym. Mae y sugaethen yma yn un o'r cymhwysiadau mwyaf effeithiol; gellir ychwanegu ychydig o golosg-goed, neu *peruvian bark*. Os na fydd y pethau blaenorol i'w cael rhagblaen, gellir arfer y sugaethen ganlynol:—cymerer blawd *corn*, neu geirch, a dwfr oddiar ludw, a rhodder ychydig o golosg-goed wedi ei falu yn llwch yn gymysg. Gellir golchi y parth yn fynych, yn enwedig y pryd y byddir yn newid y sugaethen, a brandy cryf, neu *tincture capsicum*, neu cymerer *cayenne pepper*, *gum of myrrh*, hanner owns o bob un, a berwer mewn un peint o winegr, a golcher y parth effeithiedig a'r unrhyw.

---

## CORNWYDYDD. *(ABSCESSES.)*

Y cyfryw ydynt ennyniad, a chwydd yn y croen, neu ryw barth cylchwyranidd, fel yn mronau benywaid, a phendduynod. Adnabyddir crawniad trwy fod poenau hyrwygol, a rhyndod; a phan fyddo y chwydd yn casglu yn ben, a thrwy ei fod yn meddalhau, ac o ymddangosiad cochlas, neu wynaidd oddiamgylch y parth;

hefyd trwy y gellir teimlo y magwyr—y cochni yn cynnyddu—y boen yn lleihau, ac ymweithiad teimladol y gwlybwr wrth deimlo a'r bysedd.

TRINIAETH.—Yn y lle cyntaf, ymdrechu lleddfu yr ennyniad, a thrwy hyny atal ffurfiad y crawn. A phan fyddo wedi ffurfio, gwneuthur ymgais i waghau yr anafod, ac annog gronyniad, yn nghyd ac iachad. Yn gyffredin, yn yr orsaf gyntaf, bydd yn ofynol gweinyddu carthbeiriau, yn olynol a chwysbeiriau; ac os bydd modd, rhodder gelod wrth y parth. Weithiau, ar y dechreu, mae cymhwysiadau oerion yn briodol, megys dwfr oer, a dwfr ac ychydig o *sugar of lead* ynddo. Ond pan fyddont yn achosi teimlad anwydog, a mwy o boen, yr hyn sydd dueddol pan fyddo crawniad wedi dechreu, rhaid newid y driniaeth, a chymhwyso sugaethen neu dwymolchiadau. Mae yn ofynol pan fyddo y dwymyn wedi lleddfu, fod yr ymborth yn fwy maethlon.

Mae sugaethau y cymhwysiadau mwyaf effeithiol yn mhob math o anafod; maent yn llachau y croen, dyrchafu y chwysdarthiad, esmwythau y boen, yn annog ffurfiad y crawn, ac yn cyflymu ei ddyfodiad i'r arwyneb. Dylent fod yn lled fawr, fel na byddo iddynt oeri a sychu yn fuan; ac yn feddal rhag iddynt gynhyrfu yn ysgafn, fel na byddo iddynt flino y goddefydd; a dylent gael eu newid yn aml. Mae cymhwysiad o ddwfr claear yn lled effeithiol; gellir gwlychu *lint*, neu blygion o liain, mewn dwfr twym, a rhodder darn o *oil silk* trosto, i'r dyben o atal y mygdarddiad; ond mewn doluriau cynhyrfus, a lle byddo llawer o boen, nid yw gan eswmythed a sugaethen. Mewn perthynas i agor cornwydydd, gellir cymeryd hyny fel rheol gyffredin. Os byddant yn benfain, ac ddim yn ymledanu llawer yn amgylchynol, gellir gadael iddynt agor o honynt eu hunain. Ond os byddant yn eangu, yn eu lled

a'u hamgylchedd, heb dueddu i'r arwyneb, gwell yw eu hagor. Wedi hyny, y cymhwysiad goreu yw sugaethen, hyd oni byddont wedi eu harllwys; wedi hyny, rhodder eli tyner i gwblhau yr iachad. Pan fyddo ennyniad yn ymosod ar unrhyw barth, megys bron benyw, gellir ei eneinio a'r enaint canlynol:—*aqua ammonia*, un owns; *olive oil*, un owns; *oil of sassafras*, hanner owns; cymysger oll yn nghyd, ac eneinier y parth ennynol dair gwaith y dydd, gan gymhwyso sugaethen bob tro ar ol darfod eneinio.

---

## BYSDWN. *(FELON.)*

Y rhai hyn ydynt gornwydydd, a'u hesteddfod yn ddwfn, ac yn cyfodi oddiwrth ennyniad yn y memrwn, neu y bilionen sydd yn amdôi esgyrn y dwylaw, a'r traed weithiau. Mae yn gydfynedol boen dirfawr, ac yn gyffredin, mae y boen yn dechreu yn ddwfn, gyda phigiadau—dychlamiad, chwydd ac ennyniad. Mae crawnaeddfediad yn dyfod yn mlaen yn araf; yn fynych mae yn effeithio ar yr esgyrn a'r gewynau.

Triniaeth.—I'r dyben o drin yr anhwyldeb yma yn llwyddianus, y tueddnod yw, ymdrechu chwalu, neu leddfu yr ennyniad, cyn y byddo crawn yn ffurfio. Ac os na ellir gwneuthur hyny, arfer y fath foddion ag sydd yn annog crawnaeddfediad. Yn y lle cyntaf, bydded i'r goddefydd drochi y parth dolurus mewn *ley* cryf, gan boethed ac y bydd modd ei oddef, dair gwaith y dydd, wedi hyny, cymysger yr *elm bark*, neu flawd *corn*, fel sugaethen, a rhodder wrth y parth dolurus. Ac oni bydd hyny yn cynnyrchu esmwythder, bydded i'r holl law gael ei rhoddi mewn ager y drwyth ganlynol:—*catnip*, *wormwood*, *hoarhound*, *tansy* a *hops*; llon-

aid llaw o bob un; berwer oll yn nghyd, nes byddo eu ffrwyth wedi ei dynu allan o honynt, ac ychwanegr ato ychydig o sebon meddal. Rhodder mewn llestr cyfadd-as a'r llaw uwch ei ben, gan orchuddio y llaw a cheg y llestr â gwlanen, i'r dyben o gadw yr ager i mewn. Pan ganfyddir ei fod yn aeddfedu i dori, gellir ei agor, trwy wythio nodwydd, neu *lancet*, yn y fan y byddo y llinoryn gwyn yn ymddangos. Bydd yn ofynol cadw y sugaethen wrtho, wedi hyny, am beth amser.

---

## LLUOSBED. *(POLYPUS.)*

Hyn sydd yn ysgarthion cnawdol, ag sydd yn cyfodi oddiwrth y memrwn llysnafeddog y ffroenau, a mynedfa y groth, &c. Yn gyffredin, mae yn gnap, dibynaidd wrth goes fain, ac o liw naturiol y croen amgylchynol, neu i raddau yn fwy cochaidd.

Triniaeth.—Cymerer *bayberry bark*, *blood root*, wedi eu malu a'u cymysgu, a bydded iddo gael ei ffroeni fel ystrewlwch, dair neu bedair gwaith y dydd.

Os bydd y polypus yn ormod i adael i'r ystrewlwch fyned i'r ffroenau, gellir rhwymo bretyn yn mhen gwiallen, a'i wlychu, wedi hyny ei droi yn y powdr a'i wthio i fynu i'r ffroenau. Os bydd y polypus yn fawr iawn gellir gafael ynddo a gefail, (*forceps*) a'i wasgu, wedi hyny ei nydd-droi hyd oni byddo yn dyfod ymaith. Mae cwlwm edef sidan oddeutu y lle main, yn ei dynu ymaith mewn ychydig ddyddiau. Gwelais fenyw yn y lle hwn agos a cholli ei bywyd o achos y polypus. Yr oedd y dyferlif wedi ei blino am nifer o flynyddoedd; yr oedd wedi cymeryd agos i bob moddion tuag at atal hyny, ond y cwbl yn ddieffaith. Yr oedd y polypus yn y groth, a hwnw yn arllwys ychydig o waed yn barhaus,

ac felly yn ei chadw yn hynod o wan, ond cylymwyd edef sidan oddeutu y parth, a daeth i ffordd yn mhen ychydig. Yr oedd yn un pwys a dwy owns o bwysi. Wedi iddi gael ymadael a'r sylwedd estronol hyny gwellaodd yn holliach. Y peth goreu yw, pan fyddo yn fawr, ac yn uchel yn y ffroenau, yr eisteddfod, neu y groth, fydd myned at feddyg deallus.

---

## LLEDEWIGWST. (*PILES.*)

Y rhai hyn ydynt yn chwydd, yn mharthau isaf y rhefr, neu yr eisteddfa, pa rai sydd yn hynod o boenus a blinderog, yn enwedig wrth ymgarth. Y chwyddiadau, pan fyddont yn ddrwg, o achos eu bod yn ddigyfrwng yn gyssylltiedig a'r gwythenau yn mynedfa yr eisteddfod, yn fynych sydd yn gwaedu; y cyfryw a elwir y Lledewigwst Gwaedlyd; a'r cyfryw nad ydynt yn gwaedu, a elwir y Lledewigwst Deillion.

Achosion.—Ymarferiad eisteddol—carthbeiriau cryfion, yn enwedig y cyfryw ag sydd yn cynnwys *aloes*—bolrwymedd hirbarhaol, &c.

Triniaeth.—Wrth drin un o'r ddwy rywogaeth o'r lledewigwst, y peth sydd ofynol yw, rhagflaenu bolrhwymedd, trwy gymeryd carthbeiriau tyner. Mae y moddion canlynol yn hynod o rinweddol yn yr anhwyldeb yma:—*electuary of senna*, pedair owns; *flour of brimstone*, dwy owns; cymysger yn nghyd yn dda; dogn, llonaid llwy de dair gwaith y dydd. Ac oni bydd hyn yn gweithio yn ddigonol, gellir cymeryd dogn o *castor oil* yn achlysurol. Mae cymeryd llonaid llwy de o *golden seal*, dair gwaith y dydd, yn un o'r moddion goreu am wellhau yr anhwyldeb yma. Mae chwistrellau meddalhaol yn hynod am esmwythâu, pan fyddo

lledewigwst yn dufewnol. Os bydd gwres, a chwydd yn y parth, golcher â'r moddion canlynol:—cymerer *acetate of lead*, un dram; *borax*, dwy ddram; dwfr gwlaw, un peint; gwlycher darn o liain yn y gwlybwr, a chymhwyser at y parth yn achlysurol. Pan fyddo y chwyddiadau yn ennynawg, a phoenus, rhodder sugaethen o *slippery elm;* mae hyny, yn gyffredin, yn rhoddi esmwythad buan. Gellir parhau i gymhwyso y sugaethen yn olynol ag eli *stramonium*, hyd oni byddo y chwydd a'r ennyniad wedi lleddfu. Mae yn beth buddiol, pan fyddo yr anafodau yn dyfod i lawr, eu gwthio i fynu; gellir gwneuthur hyn trwy roddi ychydig eli, â'r bys ar i fynu. Os bydd y lledewigwst yn gwaedu llawer, ac yn dueddol o ddyfod i lawr, rhodder ychydig o'r eli canlynol ar y bys, a gwthier i fynu ac oddiamgylch yr eisteddfa:—-cymerer *nut galls*, yn bowdr man, dwy ddram; *opium*, wedi ei falu, hanner dram; bloneg glan, dwy owns; cymysger oll yn nghyd yn dda. Mae llawer yn proffesu eu bod wedi gallu gwellhau y lledewigwst gyda dwfr oddiar wlyb-bŷg *(tar,)* hefyd wrth eistedd uwch ben ager oddiar wlyb-byg; ond mae yn lled debygol y byddau ager oddiar lysiau yn fwy effeithiol.

Mae y lledewigwst, weithiau, yn dyfod gymaint, fel ac y byddo yn angenrheidiol eu cael ymaith; gellir cylymi edef sidan am danynt, a deuant i ffordd mewn ychydig amser. Ond gwell yw i'r cyfryw fyned at feddyg. Dyleu y cyfryw ag sydd yn dueddol i'r lledewigwst, fod yn ofalus hynod mewn perthynas idd eu hymborth; ac ymatal oddiwrth bob peth ag sydd yn dueddol o achosi rhwymedd. Os na fydd y moddion blaenorol yn gwellhau yr anhwyldeb, rhodder y cyffaith lledewigwst.

## CRAWNDDOLUR. (*FISTULA.*)

Hyn sydd gornwyd, neu orweliad, ag sydd yn cyfodi oddiwrth chwydd ennynawg, a'i eisteddfod yn ddwfn, ac yn dygwydd yn fynych yn mharth y rhefr *(anus,)* yn ffurfio chwibol, neu gilfach galed a chwyddedig. Weithiau, mae yn ffurfio mynedfa, neu chwibol i'r coluddyn mawr yr eisteddfod, ac yn fynych i'r chwibol y rhed y dwfr o'r beledren. Anfynych y mae yn iachau o hono ei hun, ac yn aml, mae yn anhawdd hynod ei wellhau.

Triniaeth.—Mae yn anhawdd desgrifio y driniaeth yn yr anhwyldeb yma oherwydd fod yn gofyn cymaint o amrywiaeth. Ac hefyd, trwy fod eisteddfod yr anhwyldeb yn dueddol o ymosod ar gymaint o wahanol barthau. Y peth goreu yw myned at feddyg deallus.

---

## TARDD-WREINIAU. (*TETTERS.*)

Mae amrywiol rywogaeth o darddiadau, ac ymddengys fod y gwreiddiol achos o honynt yn ansawdd lygredig ac anmhur y gwaed. Mae un rhywogaeth yn gynnwysedig o linorod bychain, pothellog, pa rai sydd yn tori, ac yn ysu y croen, yn gydfynedol â chosfa ac ennyniad, yr hyn pan iachâ mewn un parth a ymddengys mewn man arall; mae ar y dwylaw fynychaf, ac yn anhawdd i'w wellhau yn gyffredin; hefyd, y mae yn reddfol mewn rhai personau. Mae rhywogaeth o hono yn cael ei alw y gormwyth hallt *(salt-rheum.)*

Mae rhywogaeth arall a ymddengys yn orweliau bychain, pa rai a eangant, gan uno yn nghyd, yn gydfynedol ac ennyniad iddwfaidd, a enwir tardd-wreinynau ysadwy (*corroding tetters.*)

Un rhywogaeth a ymddengys oddeutu penau a gyddfau plant, ar hin boeth, nid ydynt ond anfynych yn torri, a enwir y gwres gwynegol (*prickly heat.*) Mae tarddiadau cyffelyb yn ymddangos ar fabanod.

Mae rhai personau yn dueddol i grugdardd, yr hyn a ymddengys fel cenau, a enwir tardd-wreinynau sych (*dry tetters.*)

Mae tarddiad neillduol arall yn delpynau gwastad, yn ymddangos ac yn diflanu yn ddisymwth, yn dygwydd fynychaf yn yr hwyr, ac yn gydfynedol â gwres, ac ysfa, a enwir y tarddiad danadlaidd (*nettle rash.*)

Mae math arall a ymddengys yn bothellau oddeutu y ddwyfron, a pharthau ereill, lle byddo mwyaf o gynhesrwydd a lleithder, yn nghyd a thwymyn, ac arwyddion eraill o gynhyrfiad cyfansoddol, a elwir y (*miliary tetters*, neu y *miliary fever*, oddiwrth y cyffelybiaeth sydd yn y tarddiadau i hâd miled. Yn yr anhwyldeb diweddaf, mae y chwys yn anarferol o sur.

Triniaeth.—Gellir dechreu triniaeth y tarddwreinen ysadwy gyda y golchiad canlynol:—cymerer *celendine*, dwy lonaid llwy fwrdd wedi ei falu, rhodder mewn un peint o *irish whiskey*, a bydded iddo sefyll am bedwar neu bump diwrnod. Golcher y parth dolurus yn aml â'r darpariad hyny, wedi hyny defnyddier yr eli llwyd. Mae eli wedi ei wneuthur o *celendine* yn hynod o effeithiol, yn enwedig pan fyddo yr ysfa yn flinderog. Os bydd llawer o ennyniad yn y parth, bydd yn ofynol defnyddio sugaethen o *slippery elm*. Dyleu y goddefydd, ar yr un pryd, gymeryd y fath cyfferi yn dufewnol ag a fyddo yn tueddu i buro y gwaed, megys y melysnodd *sarsaparilla*, a hanner owns o *hydriodate of potash* yn mhob chwart; dogn, hanner llonaid gwin-wydr dair gwaith y dydd. Mae cwrw wedi ei wneuthur o'r moddion canlynol yn hynod o rinweddol at buro y gwaed; *sassafras*, *burdock*, *black cherry*, *black alder*,

gwneler dyferwad cryf a melyser gyda mêl, neu *molasses*, a phan fyddo at boethder gwaed, rhodder burum ynddo, wedi iddo weithio yn dda, costreler, ac yfed y goddefydd yn helaeth o hono. Mae yr eli canlynol yn gwellâu tarddwreinen ysadwy yn llwyr weithiau:—cymerer hanner pwys o floneg, hanner owns o *salt of tartar*, hanner owns o *white precipitate*. Bydded i'r *salt of tartar* gael ei ddadmer mewn llonaid llwy fwrdd o ddwfr gwlaw, wedi hyny cymysger y cwbl yn nghyd. Rhwbier y parth dolurus yn dda gyda yr eli, nes ei fyned i'r croen. Gofaler am gadw y man dolurus oddiwrth wlybaniaeth gymaint ag a ellir.

Mae eli wedi ei wneuthur o *iodide of sulphur* yn hynod o dda i wellhau tardd-wreinynau yn mhenau plant, a hen bobl. Nid yw yn angenrheidiol cymhwyso cyfferi yn allanol yn y *miliary tetters*, ond bydd yn ofynol gweinyddu carthbeiriau a chwysbeiriau. Mewn tarddiadau a fyddo yn tori allan trwy blant ar hin boeth, rhodder ychydig o *magnesia* mewn dwfr wedi ei felysu, a rhodder i'r plentyn gymaint ag a fyddo yn effeithio fel carthbair, bob dydd, am ddiwrnod neu ddau, a golcher y plentyn yn fynych â dwfr a *saleratus*.

---

## LLECHAU. (*RICKETS.*)

Arwyddion.—Y pen yn anarferol o fawr—chwydd yn y cymalau—yr asenau yn iselhau, neu wastadhau—camedd yn y cefn—y bol yn oddfog, neu chwyddedig—teneuhad cyffredinol—meddalder ac anallu yn yr esgyrn i gynal y corff.

Achosion.—Y digyfrwng achos yw meddalhad, gwendid, ac ymollyngiad yr esgyrn. Mae yn dueddol o ddechreu yn mabandod, yn gyffredin o chwech i undeg-

pump mis oed. Tybier ei fod yn cyfodi o herwydd ddiffyg ansawdd calchaidd yn llaeth y fammaeth.

Mae yn anhebgorol angenrheidiol i fabanod gael eu cadw yn lân, a chael ymsymudiad mynych. Pan fyddo mammaeth yn rhy swrth i fyned gyda'r plentyn, i gael awyr iachusol, neu ofalu am adael i awyr ddilwgr fyned trwy yr ystafelloedd, mae yn ymddangos fel pe byddau o fwriad yn aberthu y plentyn i grafangau afiechyd. Mae, nid yn unig yn ddyledswydd ar fammaethod roddi ymgeledd gymhwys i'r plant, ond dylent hwythau ofalu a chymeryd ymarfariad mewn awyr bur, a defnyddio ymborth addas, i'r dyben o gael llaeth iachus i'r plant; ac nid planu gwreiddiau afiechyd ynddynt yn moreu eu dyddiau, a pheri fod eu heinioes yn orthrymder iddynt.

Triniaeth.—Mewn perthynas i driniaeth yr anhwyldeb, sylwer ar yr egwyddor gyffredinol yn y manwynau. Golcher y parthau effeithiedig gyda dwfr a halen, a'r enaint gormwythol wedi hyny. Rhodder plastr gryfhaol yn mhen encyd o amser. Bydd yn ofynol rhoddi y meddyglyn *sarsaparilla*, a pharhau ei ddefnyddio am hir amser. Mae yn ofynol cadw y coluddion yn agored; mae *rhubarb* a *magnesia* y carthbair goreu at hyny. Mae melysnodd, neu ddyferwad, wedi ei felusu, o *comfrey* a *solomon seal*, yn hynod o ddefnyddiol yn yr anhwyldeb yma. Mae newid mammaeth, weithiau, yn gwellâu y plentyn wedi i bob peth arall fethu.

---

## BREFANTWST. (*GOITRE.*)

Arwyddion.—Hyn sydd eangiad y cylchwyrnau yn mharth blaen y gwddf (*thyroid glands.*) Er nad yw yn beryglus, eto mae yn anolygus, ac yn aml yn flinderog;

o herwydd ei fod yn gwasgu ar chwibol yr anadl, ac felly yn atal yr anadliad.

ACHOSION.—Mae yn ffaith fod yr anhwyldeb, gan mwyaf, yn ymddangos mewn parthau neillduol o wlad. Tybier ei fod yn cyfodi oddiwrth ryw briodoledd yn yr hinsawdd, neu y dwfr.

Cymerer y meddyglyn *sarsaparilla*, a'r *iodide of potash*, ac eneinier y gwddf oddiallan a'r enaint canlynol:—*alcohol*, pedair owns; *nitric acid*, un dram; *oil of sassafras*, hanner owns; *oil ef hemlock*, hanner owns; *aqua ammonia*, hanner owns; cymysger oll yn nghyd, ac eneinier y gwddf dair gwaith y dydd. Os na bydd y cyfferi blaenorol yn gwellâu, cymysger y moddion canlynol:—*iodine*, pump gronyn; *iodide of potassium*, deg gronyn; bydded iddynt gael eu dadmer mewn peint o ddwfr gwlaw; dogn, dwy ddram; ac os bydd yn angenrheidiol gellir cynnyddu y ddogn hyd yn un owns, un waith y dydd. Ac ar yr un pryd, defnyddier yr eli canlynol; *iodine*, dauddeg gronyn; *alcohol*, dauddeg dyferyn:—bloneg, un owns. Rhwbier yr *iodine* yn gyntaf gyda yr *alcohol*, wedi hyny gyda y bloneg. Gellir cymhwyso yr eli hyn ddwy waith neu dair y dydd, gan rwbio y fan yn dda bob tro ei defnyddier.

---

## CHWYDD GWYN. (*WHITE SWELLING.*)

ARWYDDION.—Chwydd yn mhen y lin, y ffêr, neu yr arddwrn, yr hyn yn fynych a gynydda i faintioli mawr, heb gyfnewid yn ei liw, oddieithr ei fod weithiau yn fwy gwyn a disglaer, am hyny ei gelwir y Chwydd Gwyn. Wedi encyd o amser, mae weithiau yn crawni ac ymarllwys.

Mae y Chwydd Gwyn yn cael ei ddosbarthu yn ddau

rhywogaeth, sef y manwynawg a'r gormwythog. Y cyntaf a adwaenir trwy fod y boen yn dechreu o flaen y chwydd, ac yn gyfyngol mewn un parth, a'r boen yn lleihau fel mae y chwydd yn cynnyddu. Yn y diweddaf, gan fod y boen yn cyfodi wedi iddo chwyddo, mae yn ymledaenu dros yr holl gymal, ac y mae yn cynnyddu yn ol maintioli y cymal. Mae yn gyffredin, yn effeithio ar y corff yn gyffredinol, ac os na iacheir mae yn profi yn angeuol.

Triniaeth.—Yn nechreuad yr anhwyldeb, rhodder y parth effeithiedig uwch ben ager oddiwrth y drwyth ganlynol:—*tansy*, *hops*, *wormwood*, *catnip*, a *pennyroyal*. Bydded i'r cyfryw ddail gael eu berwi hyd oni byddo y dwfr fyddo arnynt yn drwyth gref, wedi hyny, ychwaneger hanner peint o sebon meddal, a berwer wedi hyny am ychydig amser. Rhodder y drwyth mewn llestr cyfaddas, a'r parth dolurus uwch ben y llestr, a gwlanen dros y cwbl, i'r dyben o gadw yr ager i fewn. Mae yn ofynol bod yn y sefylla hyny am o undeg-pump i ddauddeg mynyd; ac os na fydd gwres digonol i gynnyrchu chwysdarthiad yn y parth, gellir rhoddi priddfeini poethion yn y drwyth. Os bydd gormod o wrês cyfoder y gorchgudd fel byddo yr ager yn myned ymaith. Wedi darfod, sycher y parth yn sych, a chymhwyser yr enaint canlynol:—*oil of hemlock*, *oil of sassafras*, *gum camphire*, *tincture of opium*, hanner owns o bob un; *alcohol*, hanner peint; cymysger, a bydded i'r enaint gael ei ddefnyddio ar ol yr agerfaddon, a hyny gan fynyched a dwy neu dair gwaith y dydd. Os bydd anystwythder yn y cymal, wedi i'r ennyniad leddfu, defnyddier yr enaint canlynol:—*oil of sassafras*, *oil of wormwood*, *spirit of turpentine*, *neatsfoot oil*, *gum camphire*; yr un faint o bob un. Rhwbier yr enaint ar y parth effeithiedig am ddeng mynyd, dair gwaith y dydd. Fel cyfferi tufewnol, defnyddier y melysnodd

*sarsaparilla*, a'r *hydriodate of potash*. Os bydd y goddefydd yn anesmwyth, ac yn methu cysgu, rhodder y powdr cwsgbair amser gwely. Bydd yn ofynol gweinyddu carthbair yn achlysurol.

---

## TOR-LLENGIG. (*HERNIA.*)

Hyn sydd ymwthiad y coluddion, a'r memrwn sydd yn eu hamgylchynu, trwy agoriad yn magwyr y bol. Y mae tor-llengig yn glwyf, neu yn anaf ag y mae hen ac ieuaingc, meibion a merched, yn ddarostyngedig iddo, ond bernir ei fod yn blino gwrrywaid yn amlaf Mae yn myned ar wahanol enwau yn ol y parthau y byddo y toriad;—megys, Bogail-doriad,—Bol-doriad,--Achfen-doriad,—Caill-doriad,—Morddwyd-doriad.

Pan ellir, yn lled rwydd ddychwelyd y cyfran ymwthiol, dywedir ei fod yn "ddychweladwy." Ond pan fyddo wedi ymgysylltu â'r parthau allanol, gelwir yn "annychweladwy." Pan fyddo y coluddion yn wasgedig, yn nghyd a'u cynnwysiad a'r agoriad yn gyfyng dywedir eu bod yn "dagedig." Yn yr amgylchiad diweddaf mae y perygl mwyaf. Pan fyddo yn dagedig, bydd poen ac ennyniad, ac yn fynych, marwlygriad fydd y canlyniad.

Achosion.—Mae y coluddion, yn fynych, yn ymwthio trwy y parthau y mae y llengig wanaf, neu y parth hyny ac y mae agoriad ynddo, i'r gwaed-lestri fyned trwyddo, ar bob tu i'r morddwydydd. Yr achosion mwyaf cyffredin i'r coluddion gael eu gyru o'u lle, yw marchogaeth—-codymau—esgor caled—lludded—ymdrechu i godi rhywbeth rhy drwm—chwerthin, neu alar anghyffredin, pan fyddo y dillad yn gwasgu y corff yn dyn.

Arwyddion.—Mae y chwydd yn ymddangos gyntaf yn yr achfen, a thrachefn yn disgyn i'r caill—anesmwythder trwy y bol, ac nid yn y parth y byddo y chwydd—y chwydd yn mwyhau pan fyddo y goddefydd yn pesychu, neu yn ol iddo fwyta, ac yn lleihau pan fyddo ar ei orwedd. Ac os gellir ei yru yn ol bydd yn myned gyda thwrf. Mae y goddefydd, yn aml, yn cael ei flino gan y coluddwst—arloesygiad a chyfogiad —rhwymedd, &c.

Triniaeth.—I'r dyben o ddychwelyd y coluddion, rhodder y goddefydd i orwedd ar ei gefn, a'i ysgwyddau ar glustog, a chyfoder ei liniau at ei fol, fel yn ddauddyblyg. Neu, gosoder traed y goddefydd a'r ysgwyddau person arall, fel byddo ei gorff yn hongian i lawr. Wedi hyny, cymerer gafael yn y chwydd ag un llaw, gan ymdrechu yn araf â bysedd y llaw arall eu gyru yn ol, trwy yr un lle ag y byddont wedi ymwthio allan. Mae yn ofynol gofalu, am i'r rhan a ymwthiwyd allan ddiweddaf, gael ei ddychwelyd i mewn yn gyntaf. Mae yn fynych yn gofyn encyd o amser, a dyfal-barhau yn yr ymdrech. Ond os methir a dychwelyd y coluddion yn ol, gyda y moddion a nodwyd, rhodder y goddefydd mewn dwfr, am o ddeg i drideg mynyd, wedi hyny gwneuthur ail ymdrech i'w dychwelyd yn ol tra fyddo yn y baddon, neu rhagblaen wedi iddo ddyfod o hono. Ac os methir drachefn, gweinydder y chwistrellau canlynol:—un peint o ddwfr, neu de *catnip* a *lobelia*, un owns o *sweet oil*, neu *castor oil;* rhodder bob dwy awr neu dair, hyd oni byddo y coluddiou yn cael eu gwaghau. Cadwer yn y cyfamser, *hops* wedi eu berwi mewn gwinegr a dwfr ar y bol. Mae *opium*, weithiau, yn hynod o ddefnyddiol, yn enwedig pan fyddo arloesygiad a chyfogiad. Mae yn lleddfu hyny ac yn llachau y corff. Gellir rhoddi dau ronyn yn bowdr, neu yn un belen, bob dwy awr neu dair, hyd oni byddo y goddef-

ydd wedi esmwythau. Yn fynych, medr y goddefydd ei hun wthio y parth i mewn yn well na neb arall. Bydd yn angenrheidiol i'r goddefydd ollwng ei hun yn rhydd, pan fyddir yn ymgais rhoddi y parth i mewn, a pheidio tynhau cyhyrau y bol. Pan fyddir wedi cael y coluddion i mewn, bydd yn ofynol, yn chwanegiad at y chwistrellau, rhoddi carthbair, megys *castor oil*, neu *rhubarb* a *magnesia*. Dyleu y cyfryw ag sydd wedi tori eu llengig wisgo gwregys yn wastadol, mae hyny yn gwellhau y toriad yn gyflawn, yn enwedig mewn plant. Ni ddylid esgeuluso hyny, o herwydd hwn yw yr unig foddion a wellâ y tor-llengig yn gyflawn.

## GORESTYNIAD Y RHEFR. (*PROLAPSUS ANI.*)

Hyn sydd chwyddiad, neu estyniad allan yr eistedd-fod, neu y parth isaf y coludd. Mae weithiau yn hynod flinderog, ac yn arfer dyfod allan yn aml. Mabanod a'r oedranus sydd fwyaf tueddol i'r anhwyldeb yma. Yr achos o hono, yn gyffredin, yw llesgedd—carthbeiriau cryfion—rhwymedd—ymegnio wrth ymgarth, &c. Gradd a achosir, weithiau, gan y lledewigwst.

Triniaeth.—Yn gyffredin, pan fyddo newydd ddy-fod i lawr, a'r chwydd heb fod yn fawr anghyffredin, gellir ei ddychwelyd yn ol yn lled rhwydd. Gosoder y goddefydd mewn ystum gymhwys, a gwasger yn araf â chledr y llaw, neu y bysedd, arno i mewn. Ond os bydd y chwydd a'r ennyniad yn fawr, rhaid peidio egnio gormodedd, rhag ei gynhyrfu. Bydd yn ofynol defnyddio golchiadau argaeol:—cymerer *white oak bark*, wedi ei fras falu, a berwer mewn dwfr, hyd oni byddo yn drwyth gref, a rhodder yn mhob peint lonaid

llwy de o bowdr *alum*, a bydded i'r parth gael ei olchi yn aml gyda yr unrhyw, wedi hyny defnyddier yr eli llwyd. Wedi defnyddio y moddion blaenorol, ac os bydd y parthau yn annychweladwy, cymhwyser sugaethen o *slippery elm;* gwna hyny leddfu yr ennyniad fel y gellir dychwelyd y coludd. Os bydd yn cael ei achosi gan ryddni, rhaid arfer moddion i atal hyny. Ac os bydd yn cael ei achosi gan rhwymedd, bydd yn ofynol gweinyddu carthbeiriau. Mae *rhubarb* a *magnesia* yn fwy priodol na yr un arall yn yr anhwyldeb yma. Bydd yn ofynol i'r ymborth fod yn hawdd ei dreulio, megys *Graham's bread*, bara rhug, &c.

---

## GORESTYNIAD Y GROTH. (*PROLAPSUS UTERI.*)

Hyn sydd ddisgyniad y groth i'r *vagina*. Weithiau, mae yn disgyn islaw y parthau allanol, ac yn gydfynedol a phoenau yn mharth isaf y cefn, yr achfen, y cluniau, a phen y cluniau. Yn gyffredin, mae teimlad ac ymwthiad i lawr, a hyny yn mwyhau wrth gerdded. Mae dylifiad, cyffelyb i'r dylif gwyn, yn dygwydd weithiau, ac anhawsder i wneuthur dwfr, ac ymgarth. Yn gyffredin, mae y corff yn anhwylus yn gyffredinol.

Achosion.—Llesgedd a gwendid—cynhyrfiad trwy gerdded gormodedd—dawnsio—esgor caled neu annaturiol.

Triniaeth.—Gwisger rhwymyn oddeutu y parth isaf y bol, yn gymedrol o dyn. Gellir gwneuthur un i fod o'r tu blaen, ar lun cun (*wedge*,) a'r ymyl dewaf yn isaf. Rhodder hefyd blastr gryfhaol ar y cefn, a defnyddier y meddyglyn adferiadol; cadwer y coluddion

mewn ansawdd ddatodadwy. Gellir golchi y parth, ddwy waith y dydd, gada dwfr a halen. Gellir hefyd, chwistrellu trwyth o *white oak bark*, ag ychydig o *alum* ynddo, i'r groth, ddwy waith y dydd.

## LLESMEIRGLWYF. (*EPILEPSY.*)

Arwyddion.—Yn yr afiechyd yma mae y goddefydd yn syrthio i lawr yn ddisymwth. Yn ganlynol, bydd dirdyniadau—annheimladrwydd—y llygaid yn troelli, ac yn ymddangos yn wylltaidd—y tafod yn cael ei wthio allan—y dannedd yn cael eu rhingcian yn nghyd—ewynu o'r genau—gwyrdroad erchyll y gwynebpryd—y corff yn cael ei chwyldroi oddiamgylch yn chwimwth, &c. Weithiau, mae y gwyneb yn llwydaidd, bryd arall yn wyrddlas. Rhai goddefwyr a ddychwelant i ymwybyddiaeth yn ddisymwth, eraill fyddant yn aros yn swrth, a hurt, nifer o oriau. Mae yn dygwydd yn gylchol ar rai, yn dyfod ar gyfnod neillduol bob dydd, ac yn parhau felly amryw fisoedd. Mae yn arferol o ymosod yn nghyfnod cwsg, ac yn fwy tueddol pan fyddo y goddefydd wanaf.

Achosion.—Llyngir—ansawdd afiachus y cylla—gwenwyn—diodydd meddwol—gormodol gywestach—cyffroadau dirfawr, &c., ond yn fwyaf cyffredin, rhyw anhwyldeb peiriannol yr ymenydd ar yspin.

Triniaeth.—1. Symud y gwreiddiol achos.

2. Ymdrechu dychwelyd y gwaed i'r pen.

3. Cyfnewid ansawdd afiachus y gyfundrefn gieuol, pa un sydd yn wreiddiol achos o'r dirdyniadau.

Ni bydd yn angenrheidiol gwneuthur ond ychydig yn nghyfnod y bangfa, oddigerth atal i'r goddefydd anafu ei

hun, a thynu ymaith bob peth a fyddo yn gwasgu ar wythenau y gwddf. Yn gyffredin, mae yn ofynol rhoddi cyfogbair wrth ddechreu y driniaeth, mae hyny yn cludo ymaith y sylwedd heintiol o'r cylla. Wedi hyny, bydd yn angenrheidiol gweinyddu carthbeiriau tyner yn achlysurol; a rhodder y cyfferi canlynol:—*stramonium seed*, neu y dail wedi eu malu un dram; *henbane* (*hyoscamus*,) llonaid llwy de; *whiskey* da, hanner peint; bydded i'r crfferi sefyll yn y *whiskey* hyd oni byddo y ffrwyth wedi ei dynu; dogn, o ddauddeg, i bumpdeg dyferyn, mewn *valerian*, dair gwaith y dydd. Pan fyddo gwendid fel unig achos o'r anhwyldeb, rhodder y cyfferi canlynol:—*garden paeony*, un owns; *puruvian bark*, dwy owns; *virginia snakeroot*, un owns; *valerian*, dwy owns; berwer oll yn nghyd, mewn dau beint o ddwfr, hyd yr hanner, ac ychwaneger ato un pwys o siwgr gwyn, ac un peint o *madeira wine;* dogn, o hanner i lonaid gwinwydr, dair neu bedair gwaith y dydd. Pan ganfyddir y rhagrybuddiol arwyddion o'r bangfa, rhodder llonaid llwy bob undeg-pump mynyd. Mae hyny yn atal y pangfeydd, ac oni bydd yn eu llwyr atal mae yn sicr o'u byrhau. Os bydd pob peth arall yn methu, rhodder y moddion canlynol: *nitrate oj silver*, chwech gronyn; *extract of opium*, un dram; *musk*, dwy *scruble: gum camphire*, pedair *scruble;* cymysger, a bydded i'r cymysgedd gael ei wneuthur yn nawdeg a chwech o beleni; dogn, un hwyr a boreu.

Mae yn ofynol, yn y llesmeirglwyf, fod yr ymborth yn ysgafn a maethlon; gochelyd gwneuthur defnydd o ddiodydd meddwol; a phob peth ag sydd yn tueddu i gynhyrfu y nwydau.

## DAWNS ST. VITUS. (*ST. VITUS DANCE.*)

Arwyddion.—Symudiad, a gweithrediad anfoddhaol yn y cyhyrhau yn gyffredin, yn cael ei gyfyngu i un ochr, ac yn fwyaf mynych, yn ymddangos wrth ymgais gwneuthur symudiad gwirfoddol. Weithiau, mae un neu fwy o'r aelodau mewn symudiad gwastadol, eto mewn rhai ymdrechion gwiliadwrus, y fath ac anelu dryll, bydd yn hollol ddiysgog. Mae yn hynod hefyd, fod sain crwth, neu ryw beroriaeth arall, yn gyffredin, yn llonyddu y cynhyrfiad yn y goddefydd. Mewn rhai achosion, mae y symudiadau mor wastadol a chythryblus, fel nas gall y gaddefydd borthi ei hun, ac hyd yn nod gerdded. Y gwynebpryd sydd dueddol o fyned yn llwydaidd ac anfynegol, y cyhyrau yn lliprynaidd a gweiniaid, a'r coluddion yn rhwym. Yr oedd Dr. Sydenham yn ystyried mae rhywogaeth o ddirdyniadau yw yr anhwyldeb yma.

Achosion.—Gormodol gywestach—cyffroad gieuol—dynoethiad i oerfel—ymborth anfaethlon, neu unrhyw beth gwanychol. Gwybyddwyd i'r afiechyd neillduol yma gael ei drosglwyddo trwy gydymdeimlad o'r naill i'r llall.

Triniaeth.—Os canfyddir fod y cylla a llawer o wrthuni ynddo, bydd yn ofynol gweinyddu cyfogbair yr ail ddydd, wedi hyny rhodder carthbair, a mynycher gymaint ag un waith neu ddwy yr wythnos. Mae y dosbeirth yma o gyfferi, o achos eu heffaith cydymdeimlol, yn hynod o werthfawr yn yr anhwyldeb yma. Wedi glanhau y cylla a'r coluddion, ac felly adnewyddu eu gweithrediad, rhodder y meddyglyn gwin adferiadol, ag un owns o *red oxide of iron* yn mhob peint; dogn, llonaid llwy fwrdd bedair gwaith y dydd. Gellir cymeryd dwy neu dair o'r peleni gwrthgeriaidd bob nôs, neu

gymaint a fyddo yn ddigonol i gadw y coluddion yn rheolaidd. Bydd yn angenrheidiol baddio y traed mewn dwfr twym a *saleratus*; hefyd golcher holl arwyneb y croen a'r unrhyw. Mae y llysiau canlynol yn un o'r moddion mwyaf effeithiol yn yr anhwyldeb yma:—*scullcap (scutellaria lateriflora,)* un owns; dwfr, un chwart; melyser gyda siwgr gwyn. Bydded i'r goddefydd yfed yn helaeth o'r drwyth trwy gyfnod y dydd. Gellir yfed hefyd yn helaeth o de *valerian*. Dywed Dr. Elliotson, yn y "London Lancet," ei fod wedi gwellhau nifer trwy roddi dwy ddram o *carbonate of iron*, bob chwech awr. Gellir ei gymeryd gyda *molasses*. Mae yn ofynol bod yr ymborth yn hawdd i'w dreulio, ond eto yn faethlon.

---

## MYGODFA. (*ASTHMA.*)

Arwyddion.—Cynhyrfiad gwrwstaidd yr ysgyfaint, yn gydfynedol ag anhawdd, mynych, a byr anadliad—swn gwichlyd—tynder mawr yn nghledr y ddwyfron a pheswch. Mae y pangfeydd yn dyfod yn argylchol, ac yn gyffredin, mae yr arwyddion yn fwy diriad pan fyddo y goddefydd yn gorwedd. Mae arwyddion gwalldreuliad yn dueddol o fod yn gydfynedol. Pan fyddo unwaith wedi cymeryd lle, mae yn dueddol o ddygwydd yn argylchol, yn enwedig ar gyfnewidiadau yr hin—llethiad y chwysdarth—tynu i mewn gyda'r anadl &c.

Triniaeth.—-Yn nghyfnod y pangfeydd rhodder llonaid llwy de o *tincture lobelia*, bob hanner awr, mewn ychydig o de *valerian*, neu de *boneset*, hyd oni byddo yr arwyddion diriad wedi lleddfu. Os na ellir cael y *tincture* yn hwylus, rhodder dwy lonaid llwy de o'r *lo-*

*belia*, mewn hanner peint o ddwfr berwedig, a rhodder llonaid llwy fwrdd, bob hanner awr, hyd oni byddo y goddefydd wedi esmwythau.

Yn nghyfnod dyspeidiad y pangfeydd, rhodder y moddion canlynol:—*liverwort, solomon seal, skunk cabbage, water hoarhound;* chwarter pwys o bob un; *blood root*, dwy owns; bydded iddynt gael eu bras falu, a berwer mewn wyth chwart o ddwfr am ddwy awr, wedi hyny hidler a berwer y drwyth wedi hyny, hyd oni byddo yn bedwar chwart, a rhodder ynddo bedwar pwys o fêl, a hanner peint o Frandy; dogn, llonaid gwinwydr dair gwaith y dydd. Mae yn ofynol cadw penderfyniad i'r arwyneb, trwy weinyddu cyfferi chwysbarol. Bydded i'r coluddion gael eu cadw yn agored gyda y peleni gwrthgeriol. Os na bydd y moddion blaenorol yn llwyr wellhau yr anhwyldeb, defnyddier y moddion canlynol:—*seneca snakeroot*, dwy owns; dwfr, dau beint, berwer i lawr i'r hanner, a hidler, ac ychwaneger chwarter owns o *spirit of ammonia*, ac un owns o *vinegar of squills;* cymysger, dogn, llonaid llwy de dair neu bedair gwaith y dydd. Rhodder plastr gryfhaol rhwng yr ysgwyddau, ac eneinier y ddwyfron a'r enaint gormwythol, yn aml.

---

## PARLYS, NEU Y GIEUWST. (*PALSY.*)

Arwyddion.—Colliant disymwth teimladrwydd, a'r ysgogiadau mewn un neu fwy o'r cyhyrau, ac yn fynych, yn un hanner o'r corff, bryd arall dim ond yn unig yr aelodau. Mae yn aml yn gydfynedol a chysgadrwydd, ac weithiau yn rhagflaenedig â marweidd-dra —oerni—gwedd lwydaidd, a chip-dyniadau dirdynol. Pan fyddo y pen wedi effeithio arno yn ddrwg, mae y

gwyneb yn cael ei dynu naill ochr, y cof a'r meddwl wedi anmharu. Mewn rhai achosion, ni bydd ond yn unig yr ysgogiad wedi colli, bryd arall, yn unig y teimlad.

ACHOSION.—Ymarferiad eisteddol—bywyd gloddestgar--ymegniad--gormodol y meddwl--gwenwyn, megys plwm, *mercury*, *arsenic*, *&c.*—y parlys mud, niweidiau y pen a'r yspin.

TRINIAETH.—Yn fynych, yn yr anhwyldeb yma, mae y goddefydd yn cael ei flino gan y cramp a dirdyniadau. I leddfu hyny rhodder y moddion canlynol:—*sulphuric ether*, *laudanum*, a *spirit of camphire*, yr un faint o bob un; cymysger, a rhodder llonaid llwy de mewn ychydig o de *hops* bob hanner awr, hyd oni byddo y cynhyrfiad wedi lleddfu. Yn nghyfnod y dyspeidiad, bydd yn ofynol i'r goddefydd gymeryd y fath gyfferi ac a fyddo yn tueddu i gyfartalu y cylchrediad. Cymerer llonaid llwy de, lled fechan, o'r dyferion argymhellol, mewn te *virginia snakeroot*, dair gwaith y dydd. Bydded hefyd i'r parthau effeithiedig gael eu baddio â'r unrhyw yn fynych. Rhodder plastr, cyfansoddedig o ran cyfartal o *cayenne pepper*, mwstard, a blawd *corn*, wedi eu cymysgu, gyda gwinegr, wrth y traed a rhwng yr ysgwyddau a'r parthau effeithiedig. Mae carthbeiriau yn hynod angenrheidiol yn y parlys; gellir eu gweinyddu ddwy waith neu dair yr wythnos, neu fel byddo yr achos yn gofyn. Mae weithiau, yn yr anhwyldeb yma, y parth isaf y coluddion yn hynod o farwaidd ac anweithredol, fel nas gall carthbair weithredu. Yn y cyflwr hyny, rhodder, y chwistrell ganlynol:—*cayenne pepper*, llonaid llwy de; *lobelia*, dwy lonaid llwy de; rhodder arnynt un peint o ddwfr berwedig, a phan fyddo wedi sefyll digon o amser i gael ei ffrwyth, melyser gyda *molasses*, ac ychwaneger hanner peint o *sweet oil*, a rhodder yn glaear gymaint a all y goddefydd oddef.

Os na fydd y goddefydd yn gwellhau gyda y driniaeth flaenorol, rhodder y meddyglyn adferiadol, ac eneinier y parthau effeithiedig â'r enaint gormwythol. Os bydd y goddefydd yn ddigwsg, ac anesmwyth, rhodder y powdr chwysbair amser gwely. Mae trydaniaeth yn cael canmoliaeth mawr gan rai meddygon fel moddion i wellhau y parlys; os bydd pob peth arall yn methu, gwell fyddai gwneuthur defnydd o hyny.

## HUNLLEF. (*NIGHTMARE.*)

Arwyddion.—Y mwyaf nodedig sydd yn dygwydd yn nghyfnod cwsg. Mewn rhai achosion neu pan fyddo yn ysgafn, dichon na bydd ond yn unig ond breuddwyd dychrynllyd, gyda theimlad blin, ac ymdrech i ddiangc rhag rhyw berygl. Neu, fe allai bydd y goddefydd yn dychymygu ei fod mewn perygl o fygu. Mewn cyflyrau gwaeth, mae teimlad o bwysau a gwasgfa ar y ddwyfron, ac y mae y goddefydd, weithiau, yn dychymygu fod rhyw anifail yn gorphwys arno—teimlad arswydus—yr anadliad yn llafurus—analluedd symudiad gwirfoddol. Yn y sefyllfa yma, weithiau, bydd y goddefydd yn deffroi, ond, eto yn analluog i symud aelod, hyd oni chaffo ei esmwythau trwy ddeffro, a hyny yn gyffredin yn ddisymwyth, neu gael ei gyffroi gan ryw berson arall. Mae yn dygwydd, yn fwyaf cyffredin, pan yn gorwedd ar y cefn.

Achosion.—Gwalldreuliad—gwynt ac ymborth annhreuliedig yn y cylla—swpera yn drwm, yn enwedig yn ddiweddar a myned i'r gwely yn fuan a'r ol hyny—dwys fyfyrdod—gofid neu unrhyw beth a wasg ar y meddwl. Y cyfryw ag sydd a'u giau yn weiniad sydd fwyaf tueddol o gael eu blino gan yr hunllef.

Triniaeth.—Mae yn angenrheidiol i'r cyfryw ag sydd dueddol i'r hunllef ochelyd pob math o ymborth anhawdd ei dreulio; a'r rhai hefyd sydd dueddol o gynnyrchu gwyntogrwydd, yn enwedig swper diweddar. Dyleu y goddefydd gymeryd ymarferiad yn nghyfnod y dydd—derbyn cyfeillach siriol—gochelyd meddyliau pryddaidd, ac efrydaeth dwys. Pan yn dadebru o'r hunllef, os bydd anesmwythder yn y cylla, yn cael ei achosi gan wyntogrwydd, rhodder llonaid llwy de o *spirit of lavender*. Os na bydd y cyfferi hyny wrth law, rhodder llonaid llwy fwrdd o Frandy, neu ddwfr â halen ynddo. Os bydd yr anhwyldeb yn cael ei achosi gan walldreuliad, bydd yn ofynol ei drin yn ol y cyfarwyddyd a roddwyd yn yr anhwyldeb hyny. Bydd yn angenrheidiol cymeryd carthbair yn achlysurol, defnyddio lluniaeth ysgafn, ac ymarferiad yn yr awyr agored.

---

## PRUDDGLWYF. (*HYPOCHONDRIA.*)

Arwyddion.—Hyn sydd y graddau iselaf o afiechyd y meddwl, neu anhwyldeb gieuol yr ymenydd. Mae yn nodweddiadol gan orbrudd-der a theimlad anghysurus—ofnau disail—amrywiol afiechyd dychymygol, a gwib-dybau dirmygus mewn perthynas i ansawdd y corff, fel y canlyn:—Weithiau, eu bod o faintioli anferth, neu eu bod yn hynod o fychain, ereill yn tybied nad oes digon o awyr yn y greadigaeth; ac os bydd cawnen a ddygwydd iddynt ei gweled, fod hyny yn ddigon i rwystro yr awyr atynt. Ereill yn meddwl fod bwystfilod ysglyfaethus yn eu ceudod, neu ryw barth dychymygol arall. Mae y goddefydd, yn fynych, yn cael ei boenydio gan ofn pruddglwyfus y bydd marw yn fuan; ac felly yn parhau yn wrthnysig yn ngwirionolrwydd ei

ddychymygion. Mae yn gydfynedol, yn gyffredin, arwyddion gwalldreuliad. Mae y boen leiaf, a phob arwyddion dibwys, yn cael eu mwyhau; ac y mae yn cael ei aflonyddu gan ragargoelion o anffawd erchyll—ofn y bydd mewn eisiau—pryderus arswyd y bydd marw yn fuan, &c. Mae y goddefydd, yn gyffredin, yn hynod o wammal, ac anniddig; mae yn dueddol o amrafaelu gyda ei gyfeillion a'i berthynasau—mawr anobaith ac ymiseliad y meddwl, &c. Yn gyffredin, mae y coluddion yn rhwym—arllwysiad helaeth o leisw llwyd—poen yn y pen, a pharthau ereill o'r corff—dychlamiad y galon, &c. Yn fyr, mae yn gydfynedol a'r anhwyldeb yma gymaint o arwyddion, fel y llanwent gyfrol fawr pe eu desgrifid yn fanwl.

Triniaeth.—1. Adferu y grym gieuol.

2. Lliniaru, neu symud yr achos cynhyrfiol.

3. Adferyd gweithrediad y cylla, y wythreden ymborthol, a didoliadau yr afu. Mae yn ofynol trin anhwylderau pruddglwyfol fel pe byddant o wir fodoliaeth, oddiwrth ba achos bynag y byddant yn cyfodi, mae yn ddyledswydd gwneuthur defnyddiad o gelfyddyd i symud hyny. Ac ni ddylid anfoddogi y meddwl cynhyrfiol trwy anifriwch, neu ddynoethi teimladrwydd clwyfus i ddirmyg a sarhad. Fel cyfferi, gellir gweinyddu cyfogbair tyner ar y dechreu, a gellir mynychu hyny, os bydd yr anhwyldeb yn ystyfnig, bob wythnos. Rhodder yr ail dydd, wedi gweinyddu y cyfogbair, ddogn o garthbair. Gwna y cyfferi hyn lanhau y cylla a'r coluddion, a chyfranogi gweithrediad newydd iddynt, yr hyn sydd anhebgorol angenrheidiol yn yr anhwyldeb yma.

Y moddion nesaf a ddylid eu defnyddio, yw y meddyglyn gwin adferiadol, a hanner owns o *carbonate of iron* yn mhob chwart; dogn, hanner llonaid gwin-wydr dair gwaith y dydd. Os bydd gwyntogrwydd, a chramp

yn y cylla, rhodder y moddion canlynol:—cymerer *spirit of camphire*, deg dyferyn; *spirit of ammonia*, o bump i ddeg dyferyn; *compound spirit of lavender*, llonaid llwy de; cymysger. Bydded i'r cwbl gael ei gymeryd mewn chwarter peint o de *fennel seed*. Mae y moddion canlynol yn hynod o rinweddol hefyd:—cymerer *ipecacuanha*, dauddeg gronyn; *castile soap*, un ddram; *extract of camomile*, un ddram; cymysger yn nghyd, a gwneler yn bedwardeg o beleni, a chymerer dwy, dair gwaith y dydd. Dyleu y geddefydd gymeryd ymarferiad yn yr awyr agored, a baddio, neu olchi yr holl gorff mewn dwfr oer, neu glaear, bob dydd neu bob yn ail dydd. Mae ymdeithio yn cael effeith hynod o ddaionus ar rai personau. Dyleu yr ymborth fod yn hawdd eu dreulio, a gochelyd llysiau ag sydd dueddol o gynnyrchu gwyntogrwydd. Mae y giau, y cylla, a'r coluddion, a'r fath awdurdod ar yr holl gorff, ac yn gyffredin, mae y cyfryw yn anhwylus a chynhyrfiol hynod yn y pruddglwyf; a thrwy hyny, nid yw ddichonadwy gwellhau yr anhwyldeb heb yn gyntaf adferyd gweithrediad iachus yn y giau a'r cylla.

---

## GWALLGOFRWYDD. (*INSANITY.*)

Arwyddion.—Mae y rhywogaeth yma o anhwyldeb y meddwl, yn arddangos trwy amrywiol syniadau a thybiadau cynhyrfus, pa rai sydd yn llywodraethu y goddefydd i'r fath raddau, fel ag y mae yn hollol ddiystyru gwirionedd a rheswm. Fel mae y pruddglwydd yn anhwyldeb y synwyr *(intelect,)* neu y dosbarth talcenaidd o'r ymenydd, i ba un mae y teimladau yn gweithredu fel iswasanaethyddion, felly y mae gwallgofrwydd yn anhwyldeb y teimladau, neu y dosbarth ol

o'r ymenydd, a thrwy hyny mae y teimladau a'r nwydau yn llywodraethu y synwyr. Mae gwallgofrwydd yn arddangos cymaint o nodweddiadau ag sydd o beiriannau, neu gydundeb o beiriannau yn effeithiedig.

Gorphwyllder Gornestol sydd yn tarddu oddiwrth gynhyrfiad y cyfansawdd gornestol a'r dinystriol.—Hunanoldeb, a gorwagedd, oddiwrth hunanfri a gorddeisyfiad geirda.—Pruddglwyf oddiwrth amgyffrediad, &c.

Triniaeth.—Mae yn anhawdd desgrifio triniaeth gyfaddas yn yr anhwyldeb yma, oherwydd fod yr arwyddion yn tarddu oddiar gynifer o achosion. Bydd yn ofynol gweinyddu carthbair yn achlysurol, ac os bydd y goddefydd yn afreolus, rhodder un gronyn o *sulphate of morphine*, mewn hanner owns o ddwfr, cymysger; dogn, llonaid llwy de bob dwy awr, neu hyd oni byddo wedi lleddfu. Mae ymddygiad tyner, a moesol, yn fwy angenrheidiol na dim yn ngwellhad y gwallgofrwydd. Os bydd yn cael ei achosi gan wendid, bydd yn ofynol gweinyddu cyfferi cryfhaol. Os na fydd y goddefydd yn gwellhau, gwell yw ei roddi dan ofal meddyg deallus, neu lle y caffo driniaeth addas, megys gwallgofdy *(asylum.)*

---

## GORPHWYLLDER CRYNFAOL. (*DELIRIUM TREMENS.)*

Arwyddion.—Y rhywogaeth neillduol yma o wallgofrwydd, cyfranogol o ddau, sef gorphwyllder cyffredin a'r pruddglwyf, sydd yn cael ei gynyrchu trwy arferyd diodydd meddwol ac *opium*. Y gwrthddrych truenus, wedi aberthu ei hun i eilun dynoliaeth, sydd mewn sefyllfa druenus—yn ddihun a diorphwys, ac yn cael ei

orfodogi gan gynhyrfiad cymhelliadol i ymwylltio o le i le. Ei ddwylaw yn crynu, fel nas gall y pryd hyny, prin osod gwydraid o'i eilun dinystriol wrth ei enau. Mae weithiau yn afreolus a gorwyllt, fe allai yn dychymygu fod rhyw un am ei yspeilio, neu ei lofruddio. Mae yn gyffredin, yn cael ei aflonyddu gan wastadol ac anhyfryd weledigaethau drychiolaethus—gweled seirff, trychfilod gwrthwynebus yn ei arteithio, ac yn anwedig cythreuliaid. Medd un awdwr, "Adwaenwn feddwyn pan yn yr anhwyldeb, fyddai yn dychymygu ei fod yn orchuddiedig gan gantoedd o drychfilod, a phob trychfil yn gythraul." Oddiwrth yr amgylchiad yma, mae wedi cael yr enw cyffredin hwnw, "cythreuliaid gleision" (*blue devils.*)

Triniaeth.—Y gwrthddrych cyntaf yn yr anhwyldeb, yw ymdrechu lliniaru y pangfeydd, tawelu a chynnal y gyfundrefn gieuol. Wedi hyny, arfer y moddion i atal dychweliad yr anhwyldeb. I'r dyben o leddfu y pangfeydd, rhodder pelen, gymaint a physen, o *opium*, bob awr neu ddwy, hyd oni byddo y cynhyrfiad wedi lleddfu. Yn gyffredin, mae *brandy* yn cynnyrchu esmwythad yn fuan. Os bydd penderfyniad y gwaed i'r pen, bydded i'r traed gael eu baddio mewn dwfr twym a *ley*, a rhodder mwstard wrth y traed a thu ol i'r gwddf; a gweinydder carthbair. Os bydd yr arwyddion yn parhau, ac arwyddion fod y cylla yn orlwythog gan sylwedd heintus, gweinydder gyfogbair; ac wedi hyny pelen o *opium* dair gwaith y dydd am ddau ddydd neu dri. Mae yn rhaid i'r goddefydd ymatal oddiwrth ddiodydd meddwol, onidê bydd yn sicr o golli ei fywyd.

## ANLLADWST. (*SYPHILIS.*)

Arwyddion.—Yr afiechyd erchyll yma, sydd weithiau yn amlygu ei hun trwy dueddiad i orweliau o amrywiol ddull. Weithiau, dim ond arllwysiad o'r *urethra*, neu y chwibol y rhed y dwfr o'r bledren, neu geuffordd y groth *(vagina.)* Hwn a elwir yn gyffredin y *clap*. Y rhyw hwn mewn gwrrywaid sydd yn gydfynedol a chyflwr anwrthneidiol yr *urethra*, a achosir gan ennyniad, a phan gymero sythni le, yr hyn a ddygwydd yn aml yn nghyfnod cwsg, a dŷn y rhodnell yn fwa, yn gydfynedol a phoen dirfawr a elwir y *chordee*. Weithiau, gorweliau o wahanol olygiadau a ymddengys ar y parthau cenedliol, ac un ai yn arafaidd neu gyflym a ennynant, ysant, a dystrywiant y parthau a elwir *chancres*. Mewn cyflyrau ereill, y cilchwyrnau dyfrlynawg *(lymphatic glands,)* oddeutu yr arffed a ennynant, chwyddant, o chrawnaddfedant, gan gynnyrchu yr hyn a elwir *buboes*. Mewn rhai achosion, mae eangiad yr esgyrn, yr hyn a elwir *nodes*. Mewn cyflyrau ereill yr holl gyfangorff sydd yn cael effeithio arno gan y gwenwyn, yn gydfynedol â gorweliad yn y gwddf, a'r ffroenau—ysmotiau o liw copr—llinorod a gorweliau mewn amrywiol barthau, yr hyn os na atelir, a achosa i'r creadur truenus farw yn bentwr o lygredigaeth, a elwir "*constitutional syphyllis.*"

Mae meddygon yn bresenol yn sicrhau, fod yr effeithiau hyn, yn aml, yn cael eu cynnyrchu, neu o'r hyn lleiaf eu mwyhau trwy ddefnyddio *mercury*.

Triniaeth.—Pan fyddo ond yn unig arllwysiad o'r *urethra*, yn gydfynedol â phoen a llosgiad, ac ataliad yn arllwysiad y lleisw, rhodder y moddion canlynol:—*balsam copaiva*, un owns; *spirit of nitre*, un owns; *compound spirit of lavender*, un owns; *gum arabic*, yn

bowdr, tair dram; *oil of wintergreen*, dauddeg dyferyn; *tincture of kino*, dwy ddram; dwfr a siwgr, dwy owns; cymysger; dogn, llonaid llwy de, dair gwaith y dydd. Mae yn ofynol ymatal oddiwrth bob math o fwydydd breision a hallt; hefyd, cwrw a diodydd meddwol. Yn y rhywogaethau ereill o'r afiechyd gwell yw ymgynghori a meddyg.

## YMGRAFU. (*ITCH.*)

Arwyddion.—Mae yn gyffredin, yn dechreu trwy ymddangosiad llinorod dyfrllyd rhwng y bysedd, yr arddyrnau, &c.; yr hyn yn raddol a ymdaena dros yr holl gorff, yn gydfynedol ag ysfa dirfawr, yn enwedig wrth ddadwisgo y dillad y nos. Mewn cyflyrau drwg, a phan fyddo yn cael ei esgeuluso am hir amser, ymddengys gorweliau, yn ganlynol a chramenau, ac weithiau anafodau mawrion. Mae rhywogaeth o nodweddiad adwythig yn ffynu yn y Talaethau Gorllewinol, a elwir y *prairie itch*.

Triniaeth.—Cymerer yn feddyginiaeth dufewnol, *flour of sulphur*, dwy owns; *cream of tartar*, un owns; rhodder llonaid llwy de hwyr a boreu. Defnyddier hefyd yr eli canlynol yn allanol:—*sulphur vivum*, yn bowdr, hanner owns; bloneg, dwy owns; todder y bloneg, a rhodder y powdr ynddo, gan ei droi hyd nes yr oero. Bydded i'r eli yma gael ei rwbio ar y parthau effeithiedig ddwy waith neu dair y dydd. Mae yr eli yma yn gwellhau yr anhwyldeb atgas mewn ychydig ddyddiau.

## MANWYNAU. (*SCROFULA.*)

Arwyddion.—Chwydd a gorweliad yn y cilchwyrnau dyfrnawsol, yn enwedig yn y gwddf a'r ddwyfron. Weithiau, nid oes ond yn unig ymhelaethiad y cilchwyrnau, ac yn parhau felly heb gyfnewid am flynyddoedd. Bryd arall, maent yn ennynu, ac yn mhen amser, dechreuant arllwys gwlybwr gwyn ceuledig. Weithiau, mae o ansawdd ysadwy. Mae yr iechyd yn gyffredinol, yn aml yn hynod o ddrwg, a'r llygaid yn ennynawg.

Tybir fod yr oddfynau yn y Darfodedigaeth, ac hefyd y Chwydd Gwyn, o'r un natur a'r Manwynau.

Triniaeth. — Yn nghyfnod yr ennyniad, rhodder sugaethen o *slippery elm* a *ley*, neu y *narrow leaved dock*, wedi eu bras falu, a'u berwi mewn llaeth, wedi hyny cymysger ychydig o *slippery elm* ynddo. Pan fyddo wedi tori yn ddolur, golcher yn fynych â dwfr a sebon ac ychydig o *whisky* ynddo, a rhodder y sugaethen ganlynol:—cymerer rhisgl gwraidd *bayberry*, hanner pwys, wedi ei fras falu, berwer mewn dwfr hyd oni byddo yn drwyth gref, yna rhodder cymaint o flawd corn ac a fyddo yn ei wneuthur yn sugaethen, a chymhwyser ddwy waith y dydd o'r newydd. Gellir defnyddio y *slippery elm bark*, mae gystal neu well.

Os bydd chwydd caled a sefydlog, defnyddier yr eli canlynol;—*hydriodate of potash*, un owns; bloneg, dwy owns; cymysger yn dda yn nghyd, a rhwbier ar y chwydd hwyr a boreu. Fel meddyginiaeth dufewnol, rhodder y melysnodd *sarsaparilla*, ac un dram o *hydriodate of potash* yn mhob chwart.

Bydd yn ofynol gweinyddu carthbair yn achlysurol, neu gymaint a fyddo ddigonol i gadw y coluddion mewn ansawdd ddatodadwy. Mae trwyth o *bayberry bark*

yn hynod o effeithiol yn y manwynau. Cymerer *bayberry bark*, un owns; *sassafras*, dwy owns; *dandelion*, dwy owns; berwer mewn dau chwart o ddwfr am hanner awr, melyser â *molasses*. ac yfer yn helaeth yn nghyfnod y dydd. Defnyddier ar yr un pryd y melysnodd *sarsaparilla* a'r *hydriodate of potash*. Mae golchi y doluriau yn lan â thrwyth oddiar *bayberry bark*, yn un o'r cymhwysiadau goreu.

---

## TYFADEN WYLLT. (*CANCER.*)

Arwyddion.—Mae yn gyffredin yn dechreu yn galed-chwydd, neu delpyn caled ar ryw barth cilchwyrnog, neu feddal. Ymosoda yn aml ar y gwyneb, neu y bronau, yr hyn yn gyffredin, sydd yn olyniad rhyw ennyniad blaenorol. Yn mhen ychydig amser ennyniad fydd yn cymeryd lle, yn gydfynedol â phoen llym a rhwgyiadol yn ymsaethu trwy y parth. Yn ganlynol mae gorweliad yn cymeryd lle, ac arllwysiad gwlybwr drwgsawrus ac ysadwy. Mae yr ymylau yn oruchel a llarpiog, ac yn gyffredin yn hynod o boenus.

Mae yr anhwyldeb yn fynych yn dinystrio y parthau amgylchynol, a'r goddefydd truenus fel yn cael ei ddifa yn fyw.

Triniaeth.—Mae tyfaden wyllt yn hynod o hawdd ei gwellhau ar y dechreu; ond yn gyffredin, mae pobl anwybodus yn cael eu harwain i dreio cynifer o bethau, trwy gynghor rhai mor anwybodus a hwythau, nes o'r diwedd y byddant mewn cyflwr anwelladwy. Ac y mae yn druenus, fod llawer o anafodau, heb fod yn ddyfaden wyllt, trwy driniaeth anghymhwys, yn cael eu ffyrnigo i'r fath raddau, fel y mae o'r un natur a thyfaden wyllt.

Pan fyddo yn delpyn caled, gellir cymeryd *lancet*, a thori rhych bychan yn amgylchynol, a chymerer *red precipitate*, ac ychydig o *corosive sublimate*, yn bowdr man, a rhodder ychydig yn y rhych, ddwy waith y dydd, a rhyw eli tyner ar hyny. Gwna hyny ddifa y parthau oddiamgylch i'r ddyfaden, a daw ymaith yn mhen ychydig o ddyddiau. Os bydd yn ddolur, rhodder y moddion canlynol:—rhysgl gwraidd *bitter sweet*, *stramonium*, *cicuta leaves*, *deadly night shade (atropa belladonna,) yellow dock*, *poke berry root*, yr un faint o bob un, wedi eu brasfalu. Gochuddier y cwbl a *whisky*, a berwer ynddo am ychydig o oriau, ac ychwaneger ymenyn heb halen; lled ferwer y cwbl yn nghyd hyd oni byddo y nerth wedi ei lwyr dynu, yna hidler. Bydded i'r parth gael ei rwbio yn dda gyda yr eli hyn, dair neu bedair gwaith y dydd, o flaen tan; neu dalier darn o haiarn poeth gogyfer a'r parth pan fyddo yn cael ei iro.

Fel meddyginiaeth dufewnol, defnyddier y canlynol: *yellow dock root*, dau bwys; rhysgl gwraidd *bitter sweet*, dau bwys; bras faler a berwer mewn wyth chwart o ddwfr, i lawr i'r hanner; hidler, a rhodder digon o siwgr ynddo i atal iddo suro, a chostreler; dogn, llonaid gwinwydr dair gwaith y dydd. Ar yr un pryd, rhodder pelen o *extract of cicuta*, ddwy waith y dydd. Os bydd yn parhau yn ystyfnig, neu yn aros yn lled debyg, defnyddier y plastr canlynol:—*white oak bark*, wedi crafu ymaith y rhan allanol, hanner *bushel;* bras faler a berwer mewn dwfr gwlaw, neu beth sydd well, lleisw; cadwer mewn lle twym am ddiwrnod neu ddau, wedi hyn berwer, a thywallter ymaith y gwlybwr, a rhodder ychwaneg arno, berwer drachefn, a mynycher hyny hyd oni byddo y ffrwyth wedi ei dynu; yna berwer yr holl wlybwr yn nghyd hyd oni byddo fel *molasses;* yna cymerer *white turpentine*, pedair owns; *juice of poke*

*berry*, pedair owns; mêl, hanner peint; rhodder y cwbl yn nghyd, a berwer am ychydig fynydau, ac yn mhob owns o'r eli, rhodder hanner dram o *white vitrol;* taener ar ddarn o ledr, a rhodder ar y ddyfaden. Gellir ei newid bob dydd. Bydd yn angenrheidiol gweinyddu carthbair yn achlysurol—*mandrake* yw y goreu.

---

## LLYNGYR. (*WORMS.*)

Yn gyffredin mae tair rhywogaeth o lyngyr; *tænia* neu *tape worm; teres*, llyngyr crynion hirion; a'r *ascarides*, rhywogaeth bychain yn yr eisteddfa.

Arwyddion.—Chwant bwyd anwadol—anadl drwgsawrus—bytheiriad surllyd, a phoenau yn y cylla—rhingcian y dannedd pan yn nghwsg—gwedd welw—y bol yn galed a thyn—ymgarth llyslyd—poenau crafangol yn y bol—peswch byr sychlyd—twymyn araf ac anwadal—-teneuhad y corff—gwaedgur anwadal, ac weithiau, dirdyniadau. Yr arwyddion sicr o'r *tape worm*, yw ymadael a chyfran yn yr ymgarth. Arddangosir bodoliaeth y llyngyr bach *(pin worm,)* trwy ogleisiad ac ysfa yn y rhefr.

Triniaeth.—Mae y moddion canlynol, yn gyffredin yn achosi ymadawiad pob math o lyngyr:—cymerer *pink root, alexandria senna, manna;* hanner owns o bob un, yn bowdr, a rhodder arnynt un peint o ddwfr berwedig, a bydded iddynt sefyll am awr neu ddwy; melyser gyda *molasses* a rhodder ynddo ychydig laeth. Bydded i blentyn pump mlwydd oed gymeryd hanner llonaid gwin-wydr, bedair gwaith y dydd, pan fyddo y cylla yn wâg. Os na fydd hyny yn effeithio fel carthbair, mwyhaer y ddogn hyd oni chynnyrcher ymgarthiad.

Mae y moddion canlynol wedi bod yn hynod effeithiol i ladd llyngyr amryw weithiau. Cymerer *castor oil*, un owns; *wormseed oil*, un dram; *tincture of myrrh*, un dram; cymysger; dogn, llonaid llwy de, dair neu bedair gwaith y dydd. Ar y trydydd dydd rhodder y carthbair *mandrake*.

Y mae llyngyr weithiau yn cyfodi i yddfau plant ac yn eu tagu. Yn yr amgylchiad hyny rhodder dwfr a halen.

I yru ymaith y *tape worm*, rhodder llonaid llwy de o *cowhage*, mewn *arrow root*, dair gwaith y dydd, ac yn achlysurol y carthbair *mandrake*.

Mae *aloes* yn un o'r cyfferi goreu i yru ymaith y llyngyr bach o'r eisteddfod. Gellir cymeryd ychydig ronynau, neu hyny a fyddo yn ddigonol i effeith.o fel carthbair. Neu bydded i ddeg gronyn gael ei ddadmer mewn un peint o ddwfr gwlaw, a chwistreller i fynu. Mae trwyth oddiar *white oak bark* yn hynod effeithiol.

Mae llawer yn meddwl pan fyddo plant yn glaf, na bydd dim arnynt ond llyngyr. Mae yn ddiamheuol fod llyngyr yn blino plant yn fynych, ond nid mor aml ag y mae llawer yn meddwl. Gwelais blant yn marw o ennyniad yr ymenydd, ag oedd wedi bod tan driniaeth rhag y llyngyr; defnyddio *pink root, &c.;* yr hyn yn gyffredin sydd a thueddiad ynddo i gynhyrfu yr ymenydd, hyd yn nod pan nad oes tueddiad i ennyniad. Os na chanfyddir fod plant yn ymadael a llyngyr wedi gweinyddiad cyfferi rhagddynt, gellir penderfynu fod rhyw anhwyldeb arall yn nglyn a hwy.

Yn aml, pan y mae plant wedi bod yn poenydio o dan afiechyd am encyd o amser, bydd llyngyr yn magu ynddynt, yn enwedig pan fyddo y cylla a llawer o sylwedd heintus ynddo; ac fe allai mae hyny fydd y gwreiddiol achos o'u cenhedliad. Os bydd y cylla mewn cyflwr iachusol nis gall llyngyr fyw yno.

## GWRAINT. (*RINGWORM.*)

Arwyddion.—Tarddiad, yn rhedeg yn gylch crwn, yn ysu yn anarferol wrth ei gyffwrdd, neu pan fyddo y corff yn dwym.

Triniaeth.—Mewn un owns o ddwfr rhodder, os yr un fwy, o *blue vitrol* nac a ddadmer. Rhodder ychydig o'r gwlybwr ar y tarddiad amryw weithiau yn nghyfnod y dydd. Mae hyn yn gyffredin yn gwellhau yn fuan. Os bydd hyny yn methu, cymhwyser y *citron* neu y *tar ointment.*

---

## DIRGAMIAD YR YSPIN. (*DISTORTION OF THE SPINE.*)

Yn aml, y mae plant ieuangc o achos gwendid, neu ystum anghyfaddas, yn myned yn anffurfiol trwy ddirgamiad yr yspin.

Triniaeth.—Golcher ar hyd yr yspin â *brandy*, hwyr a boreu, gan ofalu fod y plentyn yn cael ei gadw mewn ystum ddiŵyr, yn nghwsg ac yn effro.

## DARPARIADAU MEDDYGOL, &c.

---

Meddyglyn Gwin. (*Wine Bitters.*)

| | | |
|---|---|---|
| Cymerer Golden seal, | 1 | dram. |
| White wood bark, | 1 | |
| Indian hemp, | 4 | |
| Cayenne pepper, | ½ | |

Maler y cwbl a rhodder mewn un chwart o win.

*Dogn.*—O lonaid llwy fwrdd i lonaid gwin-wydr dair gwaith y dydd.

*Defnydd.*—Mae yn ddefnyddiol yn y gwalldreuliad, a phob amser pan fyddo cyfferi cryfhaol yn ofynol.

Meddyglyn Gwin Adferiadol. (*Restorative Wine Bitters.*)

| | | |
|---|---|---|
| Cymerer Comfrey root, | 1 | owns. |
| Solomon seal, | 1 | |
| Spikenard root, | 1 | |
| Colombo root, | 1 | |
| Gentian root, | 1 | |
| Camomile flowers, | ½ | |

Bras faler y cwbl yn nghyd, gochuddier â dwfr berwedig, ac yn mhen ychydig oriau, pan oero, ychwaneger pedwar chwart o win.

*Dogn.*—Hanner llonaid gwin-wydr dair gwaith y dydd.

*Defnydd.*—Mewn cyflyrau gwanychol, yn enwedig gwendid neillduol benywaid. Mae yn hynod o werthfawr yn y Dylif Gwyn, ac yn nechreuad y Darfodedigaeth.

### Meddyglyn Poerbair.

Cymerer Iceland moss, 2 owns.
Poppy heads, pedwar.
Barley, llonaid llwy fwrdd.

Rhodder mewn tri pheint o ddwfr, a berwer hyd oni byddo yn ddau beint; hidler a rhodder ynddo un pwys o siwgr candy.

*Dogn.*—Llonaid llwy fwrdd un amser y byddo y peswch yn flinderog.

### Meddyglyn Gwrthsur. (*Neutralizing Mixture.*)

Cymerer Pulverized Rhubarb,
Saleratus, (*bicarbonate of potash,*)
Peppermint, yn bowdr,
Cinnamon, yn bowdr.
Yr un faint o bob un.

Cymysger y powdr yn dda yn nghyd, a rhodder llonaid llwy de lled fawr o'r powdr mewn hanner peint o ddwfr berwedig, melyser gyda siwgr, ac ychwaneger llonaid llwy fwrdd o Frandy.

*Dogn.*—Un neu ddwy lonaid llwy fwrdd bob chwarter, hanner, neu ddwy awr, yn ol yr arwyddion.

*Defnydd.*—Mae hwn yn un o'r darpariadau mwyaf gwerthfawr yn y darymred, a dolur rhydd ar blant. Mae yn hynod dda i wragedd beichiogion i leddfu arloesygiad y cylla, rheoleiddio y coluddion, &c.

### Melysnodd Llysieuaidd. (*Vegatable Syrup.*)

| | |
|---|---|
| Cymerer Liverwort, | 1 pwys. |
| Solomon seal, | 1 |
| Skunk cabbage, | 1 |
| Blood root, | ½ |
| Water hoarhound, | 1 |

Rhodder arnynt swm digonol o ddwfr a berwer, a bydded i'r cyntaf gael ei ddychwelyd a berwer mewn dwfr

drachefn, bydded i hyny gael ei wneuthur hyd oni byddo y nerth wedi ei dynu. Wedi hyny berwer y cwbl hyd oni byddo yn wyth chwart, hidler ac ychwaneger un peint o Frandy.

*Dogn.*—Llonaid gwinwydr bedair gwaith y dydd.

*Defnydd.*—Mae y darpariad yma yn hynod o rinweddol yn anhwylderau ysgyfeinaidd, peswch, &c.; yn enwedig yn y mygodfa a'r gwaedlif o'r ysgyfaint.

Melysnodd Sarsaparilla. (*Sarsaparilla Syrup.*)

| | | |
|---|---|---|
| Cymerer Sarsaparilla, | 6 | pwys. |
| Guaiacum shavings, | 3 | |
| Sassafras root, | 2 | |
| Elder flowers, | 2 | |
| Burdock root, | 2 | |
| Yellow dock root, | 2 | |
| Black cohosh root, | 1 | |

Y cwbl wedi eu bras falu, a rhodder arnynt un galwyn o whisky, berwer am ddwy awr, yna dymchweler y drwyth ymaith a rhodder dwfr, a berwer drachefn; mynycher hyny hyd oni byddo eu ffrwyth wedi ei dynu; hidler, a berwer y cwbl i lawr hyd oni byddo yn ddauddeg chwart, a rhodder dauddeg pwys o siwgr gwyn, a chostreler.

*Dogn.*—Llonaid gwinwydr dair gwaith y dydd.

*Defnydd.*—Mae yn ddefnyddiol yn y man wynau—y gormwyth sefydlog—-yr anlladwst—llechau—-y gormwyth hallt—-tarddiadau croenaidd—gorweliau, &c. Mae ychwanegu hanner owns o hydriodate of potash yn yn mhob chwart yn ychwanegiad mawr at ei rinwedd.

Melysnodd Ipecacuanha.

| | | |
|---|---|---|
| Cymerer Ipecacuanha, | 1 | owns. |
| Anise seed, | ½ | |

Berwer mewn un chwart o ddwfr hyd oni byddo yn

agos i'r hanner, yna hidler, a chyn iddo oeri rhodder ynddo bwys a hanner o siwgr gwyn, a chostreler.

*Dogn.*—Llonaid llwy de dair neu bedair gwaith y dydd.

*Defnydd.*—Mae yn hynod o rinweddol yn nghaethiwed yr ysgyfaint—peswch—gwddfgaethiad, &c.

Balm Ysgyfeinaidd. (*Pulmonary Balsam.*)

| | | |
|---|---|---|
| Cymerer | Spikenard root, | 1 owns. |
| | Hoarhound tops, | 1 |
| | Elecampane root, | 1 |
| | Cumfrey root, | 1 |
| | Blood root, | 1 |
| | Licorice root, | 1 |
| | Anise seed, | 1 |

Berwer mewn mesur cymhwys o ddwfr am encyd o amser, tywallter y drwyth ymaith, a rhodder ail ddwfr, a mynycher hyny hyd oni byddo y nerth wedi ei dynu allan yn llwyr. Yna hidler y cwbl, ac ychwaneger chwarter peint o rum, a berwer y cwbl yn nghyd hyd oni byddo yn un chwart; melyser gyda siwgr gwyn a chostreler

*Dogn.*—Llonaid gwin-wydr dair neu bedair gwaith y dydd.

*Defnydd.*—Mae yn hynod o rinweddol yn y Darfodedigaeth, a pheswch o hir barhad.

Dyferwad Lleiswbair. (*Diuretic Decoction.*)

| | | |
|---|---|---|
| Cymerer | Queen of the meadow, | 2 owns. |
| | Milk weed, | 2 |
| | Juniper berries, | 2 |
| | Dwarf elder, | 2 |
| | Spearmint, | 2 |
| | Wild carrot seed, | 2 |

Bras faler y cwbl a gwneler dyferwad cryf.

*Dogn.*—Hanner peint yn fynych yn nghyfnod y dydd.

*Defnydd.*—Mae y dyferwad yma yn hynod ddefnyddiol yn y graeanwst a'r dyfrglwyf.—Mae yn lleiswbair cryf.

Dyferion Chwysbarol. (*Sodorific Drops.*)

| | | |
|---|---|---|
| Cymerer | Ipecacuanha, | 2 owns. |
| | Saffron, | 2 |
| | Camphor, | 2 |
| | Virginia snakeroot, | 2 |
| | Opium, | 2 |
| | Holland gin, neu Jamaica spirit, | 3 chwart. |

Bydded iddo sefyll am bythefnos, a hidler trwy bapur.

*Dogn.*—Llonaid llwy de, mewn hanner peint o de catnip, bob awr hyd oni byddo chwysiad wedi cymeryd lle.

Dyferion Argymhellol. (*Stimulating Drops.*)

| | | |
|---|---|---|
| Cymerer | Gum Myrrh, | 1 owns. |
| | Cayenne pepper, | 1 |
| | French Brandy, | 1 peint. |

*Dogn.*—O hanner i lonaid llwy de mewn dwfr a siwgr.

*Defnydd.*—Pan fyddo poen yn y cylla a'r coluddion, a phan fyddo y gwaed yn oer a'r cylchrediad yn farwaidd.

Dyferion Lleiswbair. (*Diuretic Drops.*)

| | | |
|---|---|---|
| Cymerer | Sweet spirit of nitre, | 2 owns. |
| | Balsam copaivia, | 1 |
| | Oil of almonds, | 2 |
| | Spirit of turpentine, | 1 |

Cymysger oll yn nghyd, a rhodder un *scruple* o Gum Camphire ynddo.

*Dogn.*—Llonaid llwy de lled fechan mewn dwfr Gum Arabic, neu de dail, dair gwaith y dydd.

*Defnydd.*—Mae gweinyddiad y dyferion yma yn profi yn effeithiol hynod pan fyddo teimlad llosgiadol wrth droethi, pa un bynag fod hyny yn cyfodi oddiwrth yr anlladwst neu anhwylderau ereill. Yn ennyniad yr arenau mae yn rhoddi esmwythad buan.

Powdr Cwsgbair. (*Anodyne Powder.*)

| | |
|---|---|
| Cymerer Opium, | ½ owns. |
| Capsicum, | 1 |

Cymysger a rhwbier yn dda mewn cymriwel *(mortar.)*

*Dogn.*—O ddau i bedwar gronyn mewn melysnodd, bob dwy neu bedair awr hyd oni chynnyrchir esmwythad. Mae yn hynod o werthfawr mewn Llewygon, Coluddwst, a phoen dirfawr.

Powdr Jalap Cymysg. (*Powder of Jalap Compound.*)

| | |
|---|---|
| Cymerer Jalap, | 1 pwys. |
| Alexandria senna, | 2 |
| Cloves, | 2 owns. |

Bydded i'r cyffyriau yma gael eu malu ar wahan, wedi hyny cymysger yn nghyd, a bydded i'r powdr gael ei ogrynu trwy ogr man.

*Dogn.*—Llonaid llwy de bob tair awr neu bedair, hyd oni effeithio fel carthbair. Rhodder ar bob dogn hanner llonaid cwpan de o ddwfr berwedig, melyser gyda siwgr gwyn, a bydded i'r goddefydd ei gymeryd pan oero.

*Defnydd.*—Mae hwn fel carthbair cyffredinol yn un o'r goreu, mae yn effeithio trwy yr holl wythreden ymborthol, yn ei glanhau ac yn cynnyrchu gweithrediad iachus. Gellir ei roddi i bob oedran a rhyw. Mae yn symud casgliadau gwrthwynebol heb achosi bolrwymedd yn ddilynol, ac y mae yn annog yr holl beiriannau amgylchynol i weithrediad iachusol.

Powdr Cryd a Thwymyn. (*Fever & Ague Powder.*)

| | | |
|---|---|---|
| Cymerer | Sulphate quinine, | 1 scruple. |
| | Capsicum, | 2 |

Cymysger yn dda yn nghyd a rhanner yn ddeg o bowdr-au, a rhodder un bob dwy awr mewn melysnodd, wedi yn gyntaf lanhau y cylla a'r coluddion. Mae y cyfferi yma yn un o'r mwyaf effeithiol yn y Cryd a Thwymyn.

Powdr Chwysbarol. (*Diaphoretic Powder.*)

| | | |
|---|---|---|
| Cymerer | Gum opium, | ½ dram. |
| | Camphire, | 2 |
| | Ipecacuanha, | 1 |
| | Super-carbonate of soda, | 1 owns. |

Bydded i'r cwbl gael eu malu ar wahan, a chymysger y cwbl yn nghyd. Mae yn well defnyddio yr *opuim* wedi ei bowdro.

*Dogn.*—Deg gronyn, neu hanner llonaid llwy de, gan amled ag y byddo yn angenrheidiol.

*Defnydd.*—Mae y powdr yma yn chwysbair hynod ddefnyddiol mewn twymynau, Tan Iddwf, Darymred, Gwaedglwyf, &c. Mae yn cynnyrchu chwysdarthiad heb fwyhau y gwres yn y corff. Hefyd, mae yn cynnyrchu gwlyddeidd-der y croen am hir amser, ac yn lleddfu y cynhyrfiad.

Peleni Gwrth-gwalldreuliad. (*Anti-dyspeptic Pills.*)

| | | |
|---|---|---|
| Cymerer | Socotorine aloes, | 4 owns. |
| | Castile soap, | 2 |
| | Colocynth, | 2 |
| | Gamboge, | 2 |
| | Extract of gentian, | 4 |
| | Oil of cloves, | 2 dram. |

Cymysger a ffurfier yn beleni o faint pysen.

*Dogn.*—Un neu ddwy y boreu a'r nos, yn ol fel y byddant yn effeithio.

*Defnydd.*—Mae y rhai hyn yn beleni gwerthfawr, maent yn glanhau ac yn adferyd gweithrediad y cylla.

### Peleni Afuol. (*Hepatic Pills.*)

| | | |
|---|---|---|
| Cymerer | Extract o dandelion, | 1 owns. |
| | Mandrake, yn bowdr, | 1 |
| | Blood root, yn bowdr, | 1 |
| | Oil of peppermint, | 5 dyferyn. |

Ffurfier yn beleni o faintioli cyffredin.

*Dogn.*—Tair, hwyr a boreu.

*Defnydd.*—Mae y rhai hyn yn beleni odiaethol o dda mewn anhwylderau afuol, y clwyf melyn, ac anhwyldeb yr arenau.

### Peleni Argymhelliadol. (*Stimulating Pills.*)

Cymerer Cayenne pepper,
Molasses,
Magnesia.

Yr un faint o bob un, a ffurfier yn beleni.

*Dogn.*—Tair pelen dair gwaith y dydd.

*Defnydd.*—Maent yn dda yn nghyfrglwyf y ddwyfron—mygodfa—gwyntogrwydd, gwalldreuliad, &c.

### Peleni Gwrth-geriol. (*Anti-billious Pills.*)

| | | |
|---|---|---|
| Cymerer | Socotorine aloes, | 5 owns. |
| | Castile soap, | ½ |
| | Gamboge, | 1 |
| | Colocynth, | 1 |
| | Extract of gentian, | 1 |
| | Mandrake, | 1 |
| | Capsicum, | 1 |
| | Oil of peppermint, | ½ |

Bydded i'r cwbl gael eu cymmysgu yn nghyd yn dda, a ffurfier yn beleni.

*Dogn.*—O dair i bump.

*Defnydd.*—Mae y rhai hyn yn gwnethur peleni o'r rhywogaeth goreu at anhwylderau geriaidd cyffredin, ac y maent yn ymgarthu heb achosi gwewyr na gwendid, na gadael y coluddion yn rhwym wedi hyny.

Peleni Benywaid. (*Female Pills.*)

| | | |
|---|---|---|
| Cymerer Red oxide of iron, | 1 | owns. |
| Aloes, | 1 | |
| White turpentine, | 1 | |

Todder y turpentine, a hidler trwy wlanen, a phan fyddo wedi oeri, maler, a chymysger yn dalp gyda llws Gum Tragacanth, neu Gum Arabic, a ffurfier yn beleni.

*Dogn.*—Dwy neu dair, ddwy waith neu dair y dydd, gyda the llysiau y Fam.

*Defnydd.*—Y maent yn hynod o effeithiol yn llethiad y misglwyf,—y glasglwyf, &c.

Peleni Gormwythol. (*Rheumatic Pills.*)

| | | |
|---|---|---|
| Cymerer Inspissated juice of Poke, | 1 | owns. |
| Gum turpentine, | 1 | |
| Gum guaiacum, | 1 | |

Maler oll, cymysger, todder, a hidler, a phan fyddo yn ddigon oer ffurfier yn beleni.

*Dogn.*—Tair y boreu, canol dydd, a'r nos.

Carthbair Mandrake. (*Mandrake Physic.*)

Cymerer Mandrake, yn bowdr,
Spearmint, yn bowdr,
Cream of tartar.

Yr un faint o bob un,—Cymysger.

*Dogn.*—Llonaid llwy de mewn dwfr a siwgr, bob tair awr neu bedair, hyd oni effeithio fel carthbair.

*Defnydd.*—Mae yn defnyddiol yn yr anhwylderau geriaidd—gwalldreuliad—llethiad y misglwyf—dyfrglwyf, &c.

### Carthbair Jalap a Cream of Tartar.

Cymerer Jalap llonaid llwy de lled fawr,
Cream of tartar, llonaid llwy de fechan.
Rhodder arnynt hanner llonaid cwpan de o ddwfr berwedig a melyser.

*Dogn.*—Dwy lonaid llwy fwrdd o'r cymysgedd bob dwy awr hyd oni effeithio fel carthbair.

*Defnydd.*—Mewn twymynau fyddo gwres anarferol yn gydfynedol—dyfrglwyf, &c. Mae yn glanhau y wythreden ymborthol, ac yn effeithio yn rymus ar y lleisw. Mae yn llawer mwy rhinweddol na salts a senna ag y mae llawer yn ei ddefnyddio.

### Powdr Gwrthgeriol Hull. (*Hull's Billious Physic.*)

| | |
|---|---|
| Cymerer Socotorine aloes, | 4 owns. |
| Gum Myrrh, | ½ |
| Cinnamon, | ½ |
| Cloves, | ½ |
| Ginger, | ½ |
| Saffron, | ½ |
| Garden sun flower, | 2 |

Maler yn fan a chymysger.

*Dogn.*—Llonaid llwy de bob awr, hyd oni effeithio fel carthbair.

*Defnydd.*—Mae y darpariad yma yn hynod o enwog fel meddyginiaeth yn y Coluddwst Geriaidd.

### Tincture Lobelia.

| | |
|---|---|
| Cymerer Lobelia seed or pods, | 2 owns. |
| Spirit, | 2 chwart. |

Bydded iddo sefyll am chwech diwrnod a hidler.

*Dogn.*—O lonaid llwy de i lonaid llwy fwrdd.

*Defnydd.*—Mae yn feddyginiaeth odiaethol yn y Mygodfa, y Gwddfgaethiad, ac anhwylderau Ysgyfeinaidd.

## Tincture Gormwythol. (*Rheumatic Tincture.*)

| | | |
|---|---|---|
| Cymerer White turpentine, | 4 | owns. |
| Inspissated juice of pokeberries, | 4 | |
| Malaga wine, | 3 | galwyn. |

Bydded i'r moddion blaenorol gael sefyll am wythnos, wedi hyny hidler a chostreler.

*Dogn.*—Hanner llonaid gwin-wydr dair gwaith y dydd.

*Defnydd.*—Mae y darpariad yma yn dda odiaethol yn y Gormwyth Sefydlog.

## Tincture Senna Cymysg.

| | | |
|---|---|---|
| Cymerer Alexandria senna, | 2 | owns. |
| Jalap, | 1 | |
| Fennel seed, | ½ | |
| Super-carbonate of potash, | ¼ | |
| Anise seed, | 1 | |
| French brandy, | 1 | chwart. |

Bydded iddo sefyll am wythnos, wedi hyny hidler trwy wlanen.

*Dogn.*—Llonaid llwy de i blentyn blwydd oed, mewn ychydig ddwfr a siwgr.

*Defnydd*—Mae yn garthbair llariaidd ac effeithiol, a hynod o ddefnyddiol i blant. Mae yn glanhau y cylla a'r coluddion, heblaw hyny, mae yn hynod o flasus.

## Tincture Fox-glove.

| | | |
|---|---|---|
| Cymerer Fox-glove, | 1 | owns. |
| Proof spirit, | 1 | peint. |

Bydded iddo sefyll am wythnos a hidler.

*Dogn.*—O undeg-pump i ddauddeg dyferyn dair neu bedair gwaith y dydd, mewn te parsley neu virginia snake root.

*Defnydd.*—Mae yn ddefnyddiol yn anhwylderau ennynol; yn lleihau y gwaedgur, trwy leddfu y cynhyrf-

iad rhedweliol, ac felly yn hebgor yr angenrheidrwydd o ollwng gwaed. Mae yn werthfawr yn Ennyniad yr Ysgyfaint a Dyfrglwyf y Ddwyfron.

Tincture Myrrh ac Aloes. (*Elixir Proprietatis.*)

| | | |
|---|---|---|
| Cymerer | Myrrh, | 2 owns. |
| | Alcohol, | 1½ peint. |
| | Dwfr, | ½ |

Cymysger yr alcohol gyda y dwfr, a rhodder y myrrh ynddo. Bydded iddynt sefyll am bedwar diwrnod a rhodder

| | |
|---|---|
| Socotorine aloes, | 1½ owns. |
| Saffron, | 1 |

Bydded iddo sefyll yn nghyd am dri diwrnod, a hidler trwy bapur.

*Dogn.*—Llonaid llwy de mewn dwfr a siwgr, dair gwaith y dydd.

*Defnydd.*—Mae yn hynod o ddefnyddiol yn y Clwyf Melyn, a'r holl anhwylderau geriaidd, yn enwedig pan fyddo y genau a'r tafod yn orchuddiedig gan lysnafedd melynaidd a gwydn. Nid oes dim ag sydd yn fwy rhinweddol fel carthbair yn y Gwanwyn a'r Hydref.

Tincture Rhubarb.

| | | |
|---|---|---|
| Cymerer | Rhubarb, wedi ei fras falu, | 2 owns. |
| | Cardamon seed, | ½ |
| | Licorice root, | ½ |
| | Saffron, | 2 drams. |
| | Brandy, | 1½ peint. |
| | Dwfr, | ½ |

Bydded iddo sefyll am saith diwrnod a hidler.

*Dogn.*—O lonaid llwy de i ddwy lonaid llwy fwrdd.

*Defnydd.*—Mae yn ddefnyddiol pan fyddo poen yn y cylla a'r coluddion, Darymred, a phan fyddo carthbair tyner argaeol yn ofynol.

Enaint Gormwythol. (*Rheumatic Liniment.*)

| | | |
|---|---|---|
| Cymerer | Oil o Sassafras, | 2 owns. |
| | Hemlock oil, | 1 |
| | Red cedar oil, | 1 |
| | Oil of turpentine, | 1 |
| | Gum camphor, | 1 |
| | Capsicum, | 1 |
| | Tincture of opium, | 1 |

Cymysger, ac ychwaneger dau chwart o alcohol.

*Defnydd.*—Mae hwn yn hynod o ddefnyddiol yn y Gormwyth, a phob math o boen, megys poen yn y gwyneb, anfoddogiad yr yspin, &c. Bydded i'r parthau gael eu heneinio am ychydig o fynydau gyda y llaw, neu wlanen, a mynycher yn ol y boen yn y parth.

Enaint Cyffredin. (*Common Liniment.*)

| | | |
|---|---|---|
| Cymerer | Castile soap, | 1 owns. |
| | Oil of Sassafras, | 1 |
| | Camphor, | 1 |
| | Aqua ammonia, | 1 |
| | Oil of turpentine, | 1 |
| | Alcohol, | 2 |

*Defnydd.*—Mae yn hynod o ddefnyddiol yn anhwylderau y gwddf, neu pan fyddo cilchwyrnau y gwddf yn chwyddedig.

Enaint Hemlock.

| | | |
|---|---|---|
| Cymerer | Oil of hemlock, | 1 owns. |
| | Gum Camphire, | 1 |
| | Gum opium, | ½ |
| | Sulphuric ether, | 1 |
| | Alcohol, | 1½ peint. |

*Defnydd.*—Mae yn hynod o rinweddol mewn anhwylderau ennynol, megys y Gormwyth Ennynol, pan fyddo enaint poethol yn annghytuno.

### Plastr Gryfhaol. (*Strengthening Plaster.*)

| | | |
|---|---|---|
| Cymerer White rosin, | 3 | pwys. |
| Beeswax, | 3 | owns. |
| Burgundy pitch, | 4 | |
| Mutton tallow, | 4 | |

Todder oll yn nghyd, wedi hyny ychwaneger,

| | | |
|---|---|---|
| Sweet oil, | ½ | |
| Camphire, | ½ | |
| West India rum, | 2 | |
| Sassafras oil, | ½ | |

Pan fyddo y cyfferi diweddaf wedi cymysgu gyda y rhai blaenaf, tywallter i lestr â dwfr, a gweithier a'r dwylaw hyd oni byddo yn oer.

### Plastr Gynhyrfiol. (*Iritating Plaster.*)

| | | |
|---|---|---|
| Cymerer Tar, | 1 | pwys. |
| Gum turpentine, | ½ | |
| Burgundy pitch, | ½ | |
| Beeswax, | ½ | |

Todder oll yn nghyd a berwer am ychydig fynydau a hidler. Cymysger ynddo y cyfferi canlynol wedi eu malu yn fan a'u gogrynu.

| | | |
|---|---|---|
| Poke root, | 3 | owns. |
| Mandrake root, | 3 | |
| Blood root, | 3 | |
| Indian turnip, | 3 | |

Bydded iddo gael ei gynhyrfu nes yr oero, fel byddo y cwbl yn cael eu cymysgu yn dda.

*Defnydd.*—Mae yn ddefnyddiol mewn poenau sefydlog yn yr afu, anfoddogiad yr yspin, &c. Taener ar ledr a chymhwyser at y parth effeithiedig, goddefer cyhyd ag y galler. Gellir ei thynu ymaith a'i rhoddi yn ol yn mhen ychydig ddyddiau. Os bydd ysfa blin golcher â *whisky.* Mae y plastr yma yn cynnyrchu crugdardd cyffelyb i'r Frech Wen.—Mae yn ddefnyddiol hynod mewn gorweliau marwaidd.

### Cyffaith Lledewigwst. (*Piles Electuary.*)

| | | |
|---|---|---|
| Cymerer | Cream of tartar, | 1 owns. |
| | Jalap, | 1 |
| | Electuary of senna, | 2 |
| | Flour of sulphur, | ½ |
| | Nitrate of potash, | ½ |

Ychwaneger digon o folasses i'w wneyd yn does, a ffurfier yn deisenau bychain tua chwarter modfedd ysgwar.

*Dogn.*—Todder un mewn dwfr a chymerer nos a boreu. Neu, ffurfier yn beleni o faintioli cyffredin, a chymerer pedair hwyr a boreu.

*Defnydd.*—Mae hwn yn rhinweddol odiaethol yn y Lledewigwst, Rhwymedd sefydlog, &c.

### Eli Llwyd. (*Brown Ointment.*)

| | | |
|---|---|---|
| Cymerer | Ymenyn newydd, | 3 owns. |
| | White wax, | ½ |
| | Red precipitate, | 2½ dram. |
| | Prepared tutty, | 1 |
| | Camphire dissolved in olive oil, | 1 |

Todder yr ymenyn a'r *white wax*, a phan agos yn oer cymysger y lleill yn bowdr man ynddo.

*Defnydd.*—Mae yr eli yma yn dda at darddiadau yn gyffredinol, a dolur y llygaid.—Rhagora ar yr un arall.

### Cyfogbair. (*Emetic.*)

| | | |
|---|---|---|
| Cymerer | Ipecacuanha, | 4 owns. |
| | Lobelia, | 4 |
| | Blood root, | 2 |

Bydded iddynt gael eu powdro ar wahan a chymysger.

*Dogn.*—Llonaid llwy de bob trideg mynyd, mewn te boneset neu flodau chamomile. Os bydd y ddogn gyntaf yn cael ei gwrthod, parhaer ei roddi nes byddo cyfogiad yn cymeryd lle.

*Defnydd.*—Mae hwn yn rhagori ar bob un arall yn ei effaith. Gellir ei roddi yn mhob achos y mae cyfogbair yn angenrheidiol. Mae yn chwalu ymgystlyniad heintiol, ac yn annog gweithrediad iachus yn y corff yn gyffredin. Mae yn ddefnyddiol mewn twymynau, ac yn neillduol mewn anhwylderau hirbarhaol a sefydlog yr afu, y cylla, a'r coluddion. Mae hanner llonaid llwy de o Ipecacuanha, bob deg mynyd, yn gyfogbair tyner ac effeithiol. Rhodder mewn hanner llonaid cwpan de o de boneset, neu flodau chamomile.

Chwistrell. (*Injection.*)

Cymerer llaeth newydd ei odro, un peint; dwfr slippery elm, un peint; olive oil, llonaid gwinwydr; molasses, hanner peint; saleratus, llonaid llwy; cymysger.

*Defnydd.*—Maent yn cyfansoddi chwistrell werthfawr at bob achos y mae hyny yn angenrheidiol. Mae yn hynod o ddefnyddiol yn y Gwaedglwyf, a'r Darymred. Gellir rhoddi llonaid llwy de o Laudanum yn mhob chwistrelliad os bydd poen mawr yn yr eisteddfa.

Chwistrell Argymhellol. (*Stimulating Injection.*)

| | | |
|---|---|---|
| Cymerer | Lobelia, | 1 dram. |
| | Hemlock bark, | ½ owns. |
| | Red pepper, | 1 dram. |

Gwneler yn drwyth a melyser; rhodder o hanner peint i beint ar un waith.

*Defnydd.*—Mae yn ddefnyddiol mewn Bolrwymedd ystyfnig, Coluddwst geriaidd, a Thor-llengig "tagedig."

DIWEDD.

